Ben-di - ged - ig fydd o Ar glwydd Dduw Is - ra - el o dra gwydd - ol - deb, a hyd dra - gwydd - ol - deb A - men, ac A - men.

JOHN ELLIS.

Cyfansoddydd Peroriaeth



# MAWL YR ARGLWYDD,

SEF

# CASLGIAD O RANNAU O'R PSALMAU A'R HYMNAU,

YN ATTEBION LLEISIOL,

A RHAI

## P E N N I L L I O N,

At yr hyn y chwanegwyd

## CYFARWYDDIADAU I OSOD ALLAN Y SYNWYR WRTH DDARLLAIN.

HEFYD

## Cyfarwyddiadau i ganu a'r Deall;

A CHASGLIAD O EGWYDDORION GWIR FOLIANWYR YR ARGLWYDD,

*YN HOLIADAU AC ATTEBION:*

HEFYD

HYFFORDDIADAU I DDYSGU 'R GELFYDDYD ARDDERCHOG O

## *GERDDORIAETH:*

*Gan* JOHN ELLIS.

"DA YW MOLIANNU'R ARGLWYDD, A CHANU MAWL I'TH ENW DI, Y GORUCHAF."—*Psalm* 92. 1.

TREFRIW:

*ARGRAPHWYD GAN I. DAVIES.*

1816.

# RHAGYMADRODD.

MAE Canu MAWL yn un o brif gynneddfau, ADDOLIAD DUW; yr hyn a ddylai gael ei wneuthur yn *gerddgar*, yn *soniarus*; Ps. 33. 3 *â'r yspryd* ac *â'r dëall* hefyd:* ac ni ddichon neb ganu'n gerddgar heb ddëall CERDDORIAETH; na chanu 'n ddëallus heb ddëall TREFN A THÔN-NÔDAU CERDDORIAETH: ac nid oes, hyd y gŵn i, ond ychydig o HYFFORDDIADAU i ddysgu Cerddoriaeth, yn argraphedig yn yr iaith *Gymraeg*; er fod helaethrwydd yn *Saesneg*: ond nid ydyw fy Hyfforddiadau mor helaeth mewn perthynas i'r *Drefn*, ac ydynt yn Saesneg. Fy amcan pennaf yw dangos i'm Cyd-wladwŷr y pethau mwyaf angenrheidiol mewn *Cerddoriaeth* i wneuthur *moliant yr* ARGLWYDD *yn ogoneddus*. Psal. 66. 2. Mae yn amlwg eisoes nad ydyw fy ngwaith yn ôl Rhëolau 'r holl *Gerddorion*; o herwydd hyny dywedwyd wrtho (yn ol cyfieithiad rhai) "Ti a bwyswyd yn y Clorian, (*Dring-raddau Cerdd*) ac a'th gaed yn brin." "Eithr gennyf fi bychan iawn yw fy marnu gan *farn dŷn*." Nid y prif beth gennyf wrth wneuthur MESUR, yw boddio 'r glust; ond *gosod allan y synwyr*. Mae'n hyspys i'r rhai sy'n deall Trawsddodiadau'r Cyweiriau, (*Transposition of Keys*) pa un yw'r *prif dôn-nôd* yn y mesur, mae'n hyspys hefyd fod *prif air* mewn *ymadrodd*, a *phrif sill* mewn *gair*. Ni chenir *â'r deall* heb roddi'r *prif dôn-nôd* ar y *brif sill*; yr hyn nid yw ond peth *bychan* gan rai, ond peth *mawr* gennyf fi yw. Nid gwneuthur *geiriau* ar fesur y byddaf, ond *mesur* ar eiriau: nid i'r diben i gael ei ganu ag offerynau chwaith—nid wyf yn gweled angenrheidrwydd am danynt yn bresenol.

Nid fy *mhrif amcan* chwaith, wrth wneuthur *tri llais*, yw eu gwneuthur y naill i bereiddio 'r llall; ond bod *pob un* o honynt yn Fesur; ac hyd y byddaf yn dëall, i ddangos *meddwl y geiriau*: ond ni byddant ym mhob lle yn cyd-gordio wrth eu cyd-ganu; (yn ol rhëol y Cerddorion) yr hyn sy'n merwino 'r glust, ac yn achos fy mod yn cael fy ngalw yn *Droseddwr o'r traddodiadau*. Rwy'n addef fy mod, ac nid gwaeth gennyf; o blegid gwell gennyf ferwino'r glust na chwerwi'r ymborth: mae tafiod y genau yn nês i'r cylla na'r glust. Clust yr hwn sy'n ymborthi ar sŵn,* sy'n merwino; nid yr

* "Canaf *â'r yspryd*, a chanaf *â'r deall* hefyd." 1 Cor. 14. 15. "Cenwch fawl yn *ddeallus*." Psalm 47. 7.

*"Ymborthi ar wynt." Profais unwaith fod y *peth hyn* mewn *Cantorion*, trwy roddi anghydgor *(Discord)* mewn mesur oeddym yn ei ganu; *ceryddwyd fi* o'i blegid; i gael mwy o amlygrwydd o'r peth, pan ail ganasom, rhoddais *air cyfeiliornus* yn yr ymadrodd: ar yr hyn *ni sylwyd*, "Hidlo gwybedyn a llyngcu camel."

hwn sy'n chwennychu didwyll laeth y gair. Ni wna'r sŵn pereiddiaf, nac ymdwymno chwaith, ddiwallu 'r newynog. "Y dŷn llawn a fathra 'r *dil mêl: ond i'r newynog pob peth chwerw sydd felus.*" Diar. 27. 7. Mae'r *Camgymeriadau* am y GELFYDDYD o GERDDORIAETH yn amrywiol. Mae rhai 'n myned i'r pellder hwnw, i ddywedyd eu bod yn dëall *pob peth* perthynol iddi i *berffeithrwydd*; eraill nad oes angenrheidrwydd i wybod *dim* o honi——mai dysgeidiaeth sy'n gyrru dynion yn ynfyd yw; eraill a ddywedant mai canu â'r *dëall* yw canu â'r *ysbryd;* eraill mai canu â'r dëall sy'n *tristháu'r* ysbryd——mai o *uffern* y daeth y Tôn-nôdau——nad oes yn y *nefoedd* eu sŵn; ac eraill mai *nwyd* yw'r rhëol oreu i ganu wrthi; i bawb ddechreu a diweddu yn ol eu nwyd; a phan byddont wrth eu bodd eu hunain, maent yn tybied eu bod yn *moliannu'r* ARGLWYDD: heb ystyried ydyw'r geiriau'n FAWL (*Canmoliaeth*) ai nad ydynt.

Ymdrechaf ddangos pob un o'r *Camgymeriadau* a enwyd. Yn gyntaf, y rhai sy'n proffesu eu bod yn dëall *pob peth* perthynol i GERDDORIAETH i *berffeithrwydd.* "Wele clust ymwrandewais â'ch rhesymmau," a gwelais nad yw gwŷr mawrion ddoeth bob amser, na henafgwŷr yn dëall barn: am hynny y dywedais "Minnau a ddangosaf fy meddwl," sef, Na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon dŷn, i wybod, ond *o ran*, am yr *hyd* na'r *llêd*, na'r *uchder*, na'r *dyfnder* o'r ddawn a enwyd: o blegid ysprydol yw pob rhan o *Addoliad* DUW. "Yn ysprydol y bernir hwynt."

Dywedodd Dafydd (mab Jesse, y gŵr a osodwyd yn uchel, eneiniog DUW Jacob, a pheraidd ganiadydd Israel,) "*Anifail* oeddwn o'th flaen di." Psalm 73. 22.

Mae'n hyspys i'r rhai sy'n chwilio 'r Ysgrythyrau, fod rhai dysgedig a chyfarwydd ynghaniadau'r ARGLWYDD; ond nid gan ei ysprydoliaeth ef y rhoddwyd y rhëol sydd gennym ni i ganu wrthi: *Rheol o ddodiad ddynol* yw. Yr hwn ai gosododd oedd *Guido Aretin* :* ynghylch y 13 ganrif, yn ol barn rhai *Hanesyddion.* Ond nid yw'r ddawn i'w diystyru, oblegid i *Eulun-addolwr* ei chael, nac o blegid iddi gael ei defnyddio mewn *Eulun-addoliaeth.* Ni newidiodd *Belsasar*, na'i wledd, *ddim* ar lestri'r deml. Dan. 5. 1——4.

Yn ail, Y rhai sydd yn dywedyd nad oes angenrheidrwydd i wybod dim o REOL CERDDORIAETH. "Ond pa beth a ddywed yr *Ysgrythyr?*" "Cenwch fawl yn *ddëallus.*" Psalm 47. 7. "Gan *ddysgu* a rhybuddio bawb eu gilydd, mewn *psalmau* a *hymnau*, ac

---

* *Cerddor enwog* a anwyd yn *Arezzo*, dinas yn *Italy*, efe a ddefnyddiodd y sillau *Ut. Re. Mi Fa. Sol. La.* ar y Tôn-nôdau, tra 'r oeddid yn adrodd yr Emyn ganlynol i St. Ioan.

Ut queant laxis — Resonare fibris
Mira gestorum — Famuli tuorum
Solve polutî — Labii reatum.
*Sancte Johannes.*

(Sanct Ioan symud anwiredd oddiwrth wefusau halogedig, fel y gallo gwasanaeth ddynion adseinio rhyfeddodau dy weithredaidau, gyda mân edafedd rhyddion. Sanct Ioan.) Efe a sylwodd ar fynychiad y geiriau, ac aml ddychweliad Ut. Re. Mi. Fa. Sol. La. Sylwodd hefyd ar yr annhebygolrwydd oedd rhwng caredigrwydd y sill *Mi*, â sain llydan agored *Fa*, yr hyn, yn ol ei feddwl ef, nis gallai lai nag argraffu ar y meddwl ddarluniad parhâol o'u cyfundeb.

*odlau ysprydol.*" &c. Col. 3. 16. Cenanïah oedd flaenor y Lefiaid ar y gân: efe a *ddysgai* eraill am y gân; canys *cyfarwydd* ydoedd." 1 Chron. 15. 22. A'u nifer hwynt, ynghŷd â'u brodyr *dysgedig* ynghaniadau'r ARGLWYDD, sef, pob un *cyfarwydd* oedd ddau cant pedwar ugain ac wyth." 1 Chron. 25. 7.

Yn drydydd, Y rhai sydd yn dywedyd mai canu â'r *dëall* yw canu â'r *yspryd*. "Nac ymddiried i'th *ddëall dy hun*." "Yspryd yw DUW, a rhaid i'r rhai a'i haddolant, *addoli* mewn *yspryd* a gwirionedd." Ioan 4. 24.

Yn bedwerydd, Y rhai sydd yn dywedyd mai canu â'r dëall sy'n *tristhâu* 'r yspryd, "Nid oes dim allan o ddyn yn myned i *mewn* iddo, a ddichon ei halogi ef: eithr y pethau sydd yn dyfod *allan* o hono, y rhai *hyny* yw'r pethau sy'n halogi dyn." Marc 7. 15. "Gwneler pob peth yn *weddaidd* ac mewn *trefn*." 1 Cor. 14. 40. "Fel yr oedd yr udganwŷr a'r cantorion, megis *un* i seinio *un sain* —wrth folianu 'r ARGLWYDD, gan ddywedyd,




Yna y *llanwyd* y tŷ â *chwmmwl*, sef tŷ 'r ARGLWYDD; fel na allai 'r offeiriaid sefyll i wasanaethu gan y cwmmwl: o herwydd *gogoniant* yr ARGLWYDD a lanwasai dŷ DDUW. 2 Chron. 5. 13, 14.

Mae'n anhawdd meddwl fod neb sydd o'r farn mai o *uffern* y daeth y Tôn-nôdau,* yn credu mai *wylofain a rhingcian dannedd* sydd yno: nid canu sydd yno; "*Fe'm poenir* (meddant) *yn y fflam hon.*"

*Mae mor amhosibl darllain heb swnio llythyren a chanu heb swnio tôn-nôd.

Yn bummed, Y rhai sy'n tybied mai *Newyd (Tymher)* yw'r rhëol i ganu wrthi, "Offrymwn aberth moliant *yn wastadol* i DDUW, yr hyn yw ffrwyth ein gwefusau." Heb. 13. 15. "Dyweded y rhai a garant dy iachawdwriaeth *yn wastad*, Mawryger DUW," &c. Psalm 70. 4. Yn ail, Nid oedd yn *nhrefn* y brenin i Asaph, &c. wrth foliannu 'r ARGLWYDD i ddechreu, rai *pryd yma,* a'r lleill *bryd árall*; "Yr oedd yr udganwŷr a'r cantorion, (yn ol y drefn hono) megis *un*, i seinio *un sain*." Yn drydydd, ni ellir cyffelybu 'r rhai sydd o'r dŷb fod nwydau boddawg, yn *Addoliad i* DDÚW, ond i'r "Newynog a *freuddwydio*, ac wele ef yn bwyta; a phan ddeffrô gwâg fydd ei enaid: ac megis y sychedig a freuddwydio, ac wele ef yn yfed; a phan ddeffrô *wele ef yn ddiffygiol*," Esay 29. 8. Felly mae tueddrwydd mewn nwyd, i arwain i ddychymygu mai ymborth â *Molianu'r* ARGLWYDD yw "dyrchafu llef mewn bloedd gorfoledd" wrth ganu *gwarth*; "Cywilydd pobloedd yw eu *pechod*;" am hyny "Pob cyfryw orfoledd *drwg* ydyw."

Mae llawer iawn o wahaniaeth rhwng *Geiriau Cân* y PROPHWYDI, yr EFENGYLWYR, a'r APOSTOLION,* â'r *Hymnau*,† (fel eu gelwir) a genir yn bresennol. Mae'r gwahaniaeth yn amlwg mewn *llawer* dull; megis,

"Pechadur aflan ‡ yw fy enw, o ba rai y penna'n fyw."

"Mae meiau* 'n fawr eu grym, megis rhyw fyddin grêf,
Yn sefyll, fel y creigiau serth, yn erbyn nerth y nêf."

"Gwnes y dewis goreu wnaethpwyd,
Dewis † Brenin nefoedd wen."

"Yn Eden, cofiaf hyny byth, bendithion gollais rif y gwlith,
Syrthiodd ‡ fy nghoron wiw."

*Gwel *Casgliad o Egwyddorion gwir Folianwyr yr* ARGLWYDD, ym'mhellach yn y Llyfr.

† Gwel EIRIADUR y Parch. T. CHARLES, ar y gair *Hymn.*

‡ Nid yw *Aflendid*, &c, yn fawl i DDUW, nac yn achos *Cân* i ddŷn; Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, "Yn dy aflendid y mae *ysgelerder:* o herwydd glanhâu o honof di, ac nid wyt lân, o'th aflendid ni'th lânhëir mwy hyd oni pharwyf i'm llid orphwys arnat," Ezec. 24. 13.

"Beth a wna fy anwyl yn fy nhŷ gan iddi wneuthur ysgelerder lawer?" Jer. 11. 15. "Y ffyliaid a *ymhyfrydant* mewn camwedd." Diar. 14. 9. Nid dan *ganu* y dywedodd y *Prophwyd* "Gwr *halogedig* ei wefusau ydwyf fi," Esay 6. 5. nac y dywedodd yr *Apostol* "O ba rai *pennaf* ydwyf fi." 1 Tim, 1. 15.

*"Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, *Blinaist* fi â'th anwireddau." Esay 43. 24. Nid dan *ganu* y dywedodd y *Psalmydd*, "Pechais yn ddirfawr yn yr hyn a wnaethum." 2 Sam. 24. 10.

† "Nid *chwi* a'm dewisasoch i, ond *myfi* a'ch dewisais chwi." Ioan 15. 16. "Nid i ni, O ARGLWYDD; nid i ni, ond i'th enw dy hun dôd ogoniant." Psalm 115. 1.

‡ Nid dan *ganu* y dywedwyd "*Syrthiodd y goron* oddi am ein pen: *gwae* ni yn awr bechu o honom." Galar 5. 16. "Pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw; Pa le gan hyny y mae y *gorfoledd?*" Rhuf. 3. 23. 27.

"Gwrthgilio * wnes, gwrthgilio rwy',
Oni sefi o'm blaen gwrthgiliaf fwy."

"Mae nghyfeillion † wedi myned,
Draw yn lluoedd o fy mlaen," &c.

"Mi redais ‡ tua 'r fflammau yn gynt na neb erioed."

"Rho fy nwydau § fel cantorion, i chwareu eu bysedd yn gyttun."

* Gwybydd dithau a gwel, mai drwg a chwerw ydyw *gwrthod* o honot yr ARGLWYDD dy DDUW, medd ARGLWYDD DDUW y lluoedd." Jer. 2. 19. Nid dan *ganu* y dywedodd y Psalmydd "*Cyfeiliornais* fel dafad wedi colli." Psalm 119. 176.

† Ni byddai'r Saint yn canu *Galarnadau* am eu gilydd yn *Addoliad yr* ARGLWYDD; nac yn eu cyfrif yn *Fawl* iddo ef. Ger bron *corph* Sarah y galarodd Abraham." Gen. 23. 3. Yn llawr dyrnu *Atad* y galarodd *Joseph* (a'r rhai oedd yn ei ganlyn) am ei Dad. 50. 10. Yn *Rhosydd Moab* y galarodd *Meibion Israel* am Moses. Deut. 34. 8. Yng *Nghladdedigaeth* Abner y galarnadasant. 2 Sam. 3. 31---33. Fe alarodd *Dafydd* am Jonathan a Saul; ond nid yn *Addoliad* yr ARGLWYDD."---1. 17---27.

‡ "Hwy a'm gadawsant *i*, ffynnon y dyfroedd byw," medd yr ARGLWYDD. Jer. 2. 13. "Eu traed a redant i ddrygioni." Diar. 1. 16. "A'r hwn sy brysur ei draed a becha." 19. 2. Nid dan ganu y dywedodd y mab afradlon "*Pechais yn erbyn y nef*," &c. *Cwynfan a thuchan* y byddai yr hen dduwiolion o blegid eu pechodau. "Cwynfan yr ydwyf yn fy ngweddi, a thuchan." Psalm 55. 2.

§ Nid eu nwydau fyddai 'r hen Dduwiolion yn annog i foliannu'r ARGLWYDD, ond eu henaid. "*Fy enaid* (meddant) *bendithia'r* ARGLWYDD." Psalm 103. 1.

"Wele'r Barnwr yn ei gerbyd, udgyrn fyrdd* yn seinio o'i flaen;
'Nawr ymgasgla'r meirw cysglyd, oll ger bron ei orsedd lân:
O'r fath olwg, &c. Daeth ofnadwy ddydd y farn."

"Disgwyl pethau gwych i ddyfod, croes i hyny maent yn d'od;
Meddwl foru daw gorfoledd, fory 'r tristwch mwya erioed;
Meddwl byw, ac etto marw yw'r lleferydd dan fy mron,
Bob yn ronyn mi rof ffarwel:—ffarwel glân i'r ddaear hon."

"Yr wy'n ofni yn fy nghalon, gan mor fychan yw fy ngrym,
Rhag, ryw awr, i'm temtasiynau, creulon i fy ngwneud yn ddim;
Nid oes gryfder, &c. Trwy fy yspryd mewn un man."

"A raid i groesau byth fel hyn, i ganlyn fy yspryd bant a bryn?
Rhyw beth bob awr i'm gwneud yn brydd,
Rhyw beth i soddi'm henaid gwân, yn union pan bo am godi i'r làn,
Trwy gydol faith y nôs a'r dydd."

"Mae ngofid yn yr ardal hon yn d'od ymlaen o dôn i dôn,
'Does ond grnddfanau dan fy mron, 'dwy'n gwneuthur un lleshâd;
Ymysg dyeithriaid tanbaid hŷ, gelynion duon creulon crŷ,
Tan flin orthrymder llawer llu, y'mhell o dŷ fy Nhâd."

* Nid *myrdd* o Udgyrn fydd; ond *un* Udgorn: "Yr ARGLWYDD ei hun a ddisgyn o'r nef gyd â bloedd, â llef yr arch-angel, ac ag *udgorn* Duw:" 1 Thes. 4. 16. Nid dan ganu y dywedir, "Daeth dydd mawr ei ddigter ef; a phwy a ddichon sefyll." Dat. 6. 17.

"'Rwy'n ofni 'm nerth yn ddim. pan elwy i rym y dòn;
Mae terfysg yma cyn ei dd'od, a syndod dan fy mròn;
Mae ofnau o bob rhyw, oll fel y diluw ynghyd,
Yn bygwth i fy nhori i lawr, pan ddel eu hawr ryw bryd."

"'Does yma ddim ond trai cystuddiau, poen, a gwae;
I'r diwedd yn parhau mewn anial wlâd." *

"Wrth gael fy nghuro gan pob tòn, 'rwy' yma bron diffygio;
Gelynion nerthol sy bob cam yn ddiwyd am fy nhemtio:

* Clywais Athro duwiol (yn ol fy meddwl) yn annog Cynnulleidfa i ganu yn fywiog. Tybiais wrth glywed yr annogaeth, mai Cân o *ganmoliaeth a moliant i* Dduw oedd ganddo: (megis ag a *fyddai* gan y cantorion yn nyddiau Dafydd, ac Asaph, Neh. 12. 46.) ond tra'r oedd yn *adrodd y geiriau*, daeth i fy meddwl rai ysgrythyrau sy'n dangos y *ffolineb* o annog y *profiadol o gystuddiau, poen, a gwae, i ganu* 'r profiad hwn: (heblaw'r ynfydrwydd o gynnyg y fath eiriau yn fawl i Dduw.) "Fel yr hwn a ddygo ymaith wisg yn amser oerfel, ac fel finegr a'r nitr, felly y mae yr hwn sydd yn canu caniadau i *galon drist*." Diar. 25. 20. "Holl ddyddiau y *cystuddiedig* sydd *flin*." 15. 15 "Ni ddylesit ledu dy safn ar ddydd y *cystudd*." Obad. 12. "A'r neb a *ymddigrifo* mewn cystudd, ni bydd *dieuog*." Diar. 17. 5. "Gwasgfâ a *phoenau* a'i daliodd hi fel gwraig yn esgor." Jer. 49. 24. "Paham y daethum i allan o'r grôth i *weled* poen a gofid?" 20. 18. "*Gwae* fi yr awr hon o blegid diffygiodd fy enaid gan leiddiaid."—4. 31. "*Gwae* fi yn awr! canys yr Arglwydd a chwanegodd dristwch ar fy ngofid." 45. 3. "A oes neb yn eich plith mewn adfyd? gweddied. A oes neb yn esmwyth arno? *caned* Psalmau." Iago 5. 13.

Ond derfydd amser eich gorthrymder,
Daw f'enaid bach yn iach ar fyrder,
Câf lawn ollyngdod o bob pechod,
Mae 'nghalon eisoes gyda Mhriod;
O croesaw angeu, moes dy law, fe ddarfu braw dy ddyrnod." *

"Ai hyn a delwch i'r Arglwydd?" "Os offrymmu yr ydych y *dall* yn aberth, onid drwg hyny? ac os offrymmwch y *cloff* a'r *clwyfus*, onid drwg hyny? cynnyg ef yr awr hon i'th dywysog a fydd efe boddlon it?" "Os bydd *anaf* arno, os *cloff* neu *ddall* fydd, neu arno ryw ddrwg anaf arall nac abertha ef i'r Arglwydd dy Dduw." "Dangosodd efe it' ddyn beth sydd dda." "Abertha *foliant* i Dduw." Psalm 50. 14.

Mae'n anhyspys pa bryd yr ymlusgodd y *cyfeiliornadau*, a enwyd i dŷ Dduw; ond mae'n amlwg mai *angof* o Dduw yw'r achos o bob cyfeiliornad: canys fel hyn y dywed efe, "O herwydd i'm pobl fy *anghofio i*, hwy a arogldarthasant i *wagedd*, ac a wnaethant iddynt dramgwyddo yn eu ffyrdd, allan o'r *hen lwybrau*, i gerdded *llwybrau ffordd ddisathr*." Jer. 18. 15. Fel hyn (hefyd) y dywed yr Arglwydd. "Sefwch ar y ffyrdd, ac edrychwch, a gofynwch am yr *hên lwybrau*, lle mae *ffordd dda*, a rhodiwch ynddi." Jer. 6. 16.

Rhyw beth i, neu am *ddŷn* ydyw 'r rhan fwyaf o'r Caniadau a

* Mae geiriau anaddas yn cael eu cymmeradwyo gan rai, am eu bod weithiau yn arweiniad i mewn i Eiriau Cân: ond nid yw nac arweiniad i *mewn*, na mynediad *allan*, mewn Caniadau o'r fath yma, yn Fawl i Dduw.

arferir yn y *Cynnulleidfäoedd* yn bresennol; megis y dangoswyd, ond rhyw beth i neu am yr Arglwydd, fyddai gan y Saint:* y rhai wedi meirw sy'n llefaru etto, gan ddywedyd, "Bendithiwch Dduw yn y *cynnulleidfäoedd*, sef yr Arglwydd, y rhai ydych o ffynnon Israel." Psalm 68. 26. "Cenwch iddo, canmolwch ef."—105. 2. "Gan fynegi i'r oes a ddêl *foliant* yr Arglwydd, a'i nerth, a'i ryfeddodau y rhai a wnaeth efe.—Fel y gwybyddai'r oes a ddel, sef y plant a enid; a phan gyfodent, y mynegent hwy i'w plant hwythau."—78. 4, 6.

Mae plant y bŷd hwn, yn y peth hyn yn gall; pa Eulun bynnag fyddant yn ei addoli, byddant yn ei *ganmol* hyd y gallont: pawb oedd yn addoli y dduwies fawr *Diana*, âg *un llef*, a lefasant, megis dros *ddwy awr*, "Mawr yw Diana yr Ephesiaid." Pe cesglid ynghŷd yr *holl* Ganiadau o'r fath a enwyd, yr wyf yn tybied y byddai digon o waith i lefain dros *ddau ddiwrnod;* ïe, dros *ddwy flynedd*, (a bod cyd yn llefain pob pum gair) heb *ddim* canmoliaeth i Dduw o'u mewn.

Wrth ystyried mai i'r Arglwydd, yn unig, y perthyn Mawl,† ac na ddangosodd fwy o'i *ogoniant* nag yn y rhan *hon* o'r Addoliad, pan arferwyd *Geiriau addas*,* ac hefyd ei bod i barhâu *byth*,† mae'n rhaid nad oes un rhan o'r Addoliad yn *fwy* na'r *rhan hon:* ond y *ddiystyraf* yw, gan y rhai sy'n gadael heibio orchymyn Duw, ac yn dal *traddodiad dynion;*‡ "Gwŷch medd yr Arglwydd Iesu yr ydych yn rhoi heibio orchymyn Duw, fel y cadwoch eich traddodiad eich hunain. Gan ddirymmu gair Duw â'ch traddodiad eich hunain, yr hwn a draddodasoch chwi: a llawer o'r cyffelyb bethau yr ydych chwi yn eu gwneuthur." Marc 7. 8, 9, 13.

Pan edrychwyf gymmaint o wahaniaeth sydd yng nghaniadau'r Gŵr duwiol a gyfansoddodd rai o'r Pennillion a enwyd, ni byddaf yn ei weled yn beth hollol gredadwy iddo gyfansoddi i'r diben i gael eu canu yn addoliad yr Arglwydd, ond y rhai canlynol a'r cyffelyb.

"Mawr oedd Iesu yn yr arfaeth," &c.
"Ymgrymmed pawb i lawr, i enw'r addfwyn Oen," &c.
"Marchog Iesu yn llwyddiannus," &c.
"Cyd ganed y ddaear a'r nefoedd ynghŷd,
Ogoniant trag'wyddol i Brynwr y bŷd," &c.
"Bendigaid byth f'o enw Duw," &c.
"'R anrhydedd, y gallu a'r clod,
Y moliant a'r parch yn gyttun,
O'r nefoedd i'r ddaear gaiff fod,
Yn gyfan i'm Harglwydd ei hun:" &c.

* "Yn y *cynnulleidfaoedd* y'th fendithiaf O Arglwydd." Psal. 26. 12. "Mi a'th glodforaf yn y *gynnulleidfa fawr:* moliannaf di ym mhlith *pobl lawer*."—35. 18. "Ni chuddiais dy gyfiawnder o fewn fy nghalon: traethais dy ffyddlondeb, a'th iachawdwriaeth: ni chelais dy drugaredd na'th wirionedd yn y *gynnulleidfa luosog*."—40. 10.

† "O Arglwydd,—tydi yw fy moliant." Jer. 17. 14.

* Gwel tu dalen 3. † Y mae ei foliant ef yn parhau byth." Ps. 111. 10.
‡ Gwel tu dalen 6ed a'r 7fed.

"Hosanna, Haleluia, i'r Oen fu ar Galfaria," &c.
"Y clod, y nerth, yr enw, 'r anrhydedd, parch a'r bri,
Fo i'r Drindod mawr yn Undod, a'r Undod pur yn Dri," &c.
"Byth d' enw gaffo ei foli, byth bythoedd byddo'th glôd," &c.

Mae'r Pennillion hyn, yn ol rhëol y Caniadau sydd yn yr hên Destament a'r newydd: y rhai ydynt ganmoliaeth a moliant i Dduw.*

"Hezecïah a osododd ddosparthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid, yn eu cylchoedd, pob un yn ol ei weinidogaeth; yr offeiriaid a'r Lefiaid i'r poeth-offrwm, ac i'r ebyrth hedd, i weini, ac i foliannu, ac i ganmol, ym mhyrth gwersylloedd yr Arglwydd." 2 Chron. 31. 2. "Clodforaf yr Arglwydd yn ol ei gyfiawnder, a chanmolaf enw 'r Arglwydd goruchaf." Psalm 7. 17. "Parod yw fy nghalon, O Dduw, parod yw fy nghalon: canaf a chanmolaf." Psalm 57. 7. "Aberthaf yn ei babell ef ebyrth gorfoledd; canaf, ïe, canmolaf yr Arglwydd." Psalm 27. 6. "Molianaf enw Duw ar gân, a mawrygaf ef mewn mawl. A hyn fydd well gan yr Arglwydd nag ŷch neu fustach corniog, carnol." Psalm 69. 30, 31. "A chyfryw ebyrth y rhyngir bôdd Duw:" canys efe a ddywed, "Yr hwn a abertho foliant, a'm gogonedda *i*." Psalm 50. 23. "Pa bethau bynnag a 'scrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt; ac yn annogaeth, gan ddywedyd, "Canmolwch yr Arglwydd, yr hwn sydd yn preswylio yn Sïon: mynegwch ym mysg y bobloedd ei weithredoedd ef." Psalm 9. 11. "Cenwch i Dduw, canmolwch ei enw: dyrchefwch yr hwn sydd yn marchogaeth ar y nefoedd, a'i enw 'n IAH;" Psalm 68. 4. "Aberthwn aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr hyn yw ffrwyth ein gwefusau." Heb. 13. 15.

D. S. Nid ydwyf wedi gwneuthur defnydd o'r nôd a elwir Ail-adroddiad, (*Repeat*) mewn un man o'm gwaith; o blegid nid ydwyf am geisio rhwymo peth nis gellir ei rwymo;* nid ydwyf chwaith yn rhwymo neb i ail-adrodd un rhan o hono mwy na'i gilydd, fel y gallo 'r Cantorion ail-adrodd y nifer o weithiau a fynnont—dechreu a diweddu yn y man a fynnont—dechreu mewn un *Anthem*, a diweddu mewn un arall, os ewyllysiant; fel y gallont ganu y rhan fyddo fwyaf ar eu meddyliau, neu fwyaf prïodol i'r rhan o'r Athrawiaeth fyddo yn yr Addoliad presenol. Dymunwn symud pob rhwystr oddiar ffordd y gweiniaid, y rhai, fe allai, a dybiant fod eu dëall yn rhy dywyll, a'u llais yn rhy aflafar, i gynnyg ar y rhan hon o'r Addoliad: canys yr wyf o'r farn fod *Amen*† y cyfryw ar ddodiad dïolch, yn fwy derbyniol na *holl beroriaeth* y rhai a dybiant fod eu llais a'u dëall yn unig yn addoliad i Dduw. Cyfrifwyd dwy hatling y wraig weddw dlawd, yn fwy na'r hyn oll a fwriwyd i'r drysorfa.

Deued y dydd hwnw, gyd a brŷs, pryd y byddo Caniadau di fawl i Dduw, wedi eu bwrw i lawr mor llwyr ac allor Baal:‡ ac y byddo 'r Arglwydd yn unig yn cael ei ddyrchafu. I'r unig ddoeth Dduw, ein Hiachawdwr ni, y byddo gogonaint a mawredd, gallu, ac awdurdod, yr awr hon ac yn dragywydd. *Amen.*

*JOHN ELLIS.*

* Gwel *Casgliad o Egwyddorion gwir Folianwyr yr* Arglwydd.

* "Gair Duw nis rhwymir." † Neh. 8. 6. ‡ Barn. 6. 28.

# CYFARWYDDIADAU I OSOD ALLAN Y SYNWYR WRTH DDARLLAIN.

MAE llawer o ymdrechiadau yn y dyddiau presennol i osod allan *synwyr* wrth ddarllain; yr hyn sy'n beth canmoladwy: ond byddaf yn meddwl fod gosod allan *y* synwyr, yn beth manylach nac y mae llawer wedi sylwi arno. "Tafod y synhwyrol a draetha wybodaeth yn dda." Diar. 15. 2. Mae dŷn a'i holl egni am osod allan synwyr ei fatter ei hun; ond mae eisiau golygu llesâd eraill hefyd wrth ddarllain y Gair. Nid ydyw 'n anhawdd (ond arfer synwyr, yn lle tymher,) deall nad â'r un llais, nac yn yr un faint o amser, y gosodir allan y synwyr wrth ddarllain *pob rhan* o'r Gair. Nid ydyw'n hawdd i'r naill foddio'r llall wrth ddarllain, o blegid eu *gwahanol* feddyliau. Mae'r darllenydd *araf* yn barnu ar arall ei fod yn darllain yn *rhy fuan*, a'i lais i'w glywed yn rhy lawen, ac anystyriol, wrth ddarllain y Gair: a'r llall am dano yntef, ei fod yn darllain yn *rhy araf*, &c â llais rhy *gwynfannus*. Mae *pellder* rhwng y rhain a'u gilydd; ond ymdrechaf ddywedyd, fel y clywo 'r ddau, fod y pethau hyn *oll* yn angenrheidiol i osod allan *y synwyr* wrth ddarllain. "Dïangc am dy einioes; nac edrych ar dy ol, ac na sâf yn yr holl wastadedd: dïangc i'r mynydd rhag dy ddifetha——Brysia dïangc yno." Gen. 19. 17. 22. Wrth ddarllain yn *fuan* mae gosod allan synwyr y rhan hon a'i chyffelyb. "Wele, yr wyf fi yn mynegi i chwi newyddion da o *lawenydd* mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad, yr hwn yw CRIST yr ARGLWYDD." Luc. 2. 10. 11. Wrth ddarllain â llais *llawen* mae gosod allan synwyr y rhan hon, &c. "Pwy yw'r ARGLWYDD, fel y gwrandâwn i ar ei lais, i ollwng Israel ymaith? Yr ARGLWYDD nid adwaen, ac Israel ni ollyngaf." Wrth ddarllain a llais *anystyriol* mae gosod allan synwyr y rhan hon, &c. "Y gogoniant a ymadawodd o Israel: canys arch DUW a ddaliwyd." 1 Sam. 4. 22. Wrth ddarllain yn *araf* mae gosod allan synwyr y rhan hon, &c. "Ein hesgyrn a wywasant, a'n gobaith a gollodd; torrwyd ni ymaith o'n rhan ni." Ezec. 37. 11. Wrth ddarllain â llais *cwynfannus* mae gosod allan synwyr y rhan hon, &c. "O mor ogoneddus oedd brenin Israel heddyw, yr hwn a ymddïosgodd heddyw yngŵydd llaw-forwynion ei weision, fel yr ymddïosgai un o'r ynfydion gan ymddïosg!" 2 Sam. 6. 20. Wrth ddarllain â llais *gwatworus* mae gosod allan synwyr y rhan hon, &c.

Mae'n gofyn hunan-ymwadiad i osod allan y synwyr wrth ddarllain. Nid yr un llais oedd Pharao pan ddywedodd "Pwy yw'r Arglwydd, &c. ac oedd pan ddywedodd "Maddeu, attolwg, fy mhechod y waith hon yn unig, a gweddïwch ar yr ARGLWYDD eich DUW, ar iddo dynnu oddi wrthyf y farwolaeth hon yn unig." Ex. 10. 17. *Cuddio* 'r synwyr yw darllain *pob* rhan o'r Gair fel eu gilydd; *gwaeth* na *hyny* yw rhoddi'r llais priodol i'r naill fatter ar y llall. Fel tywyllu cyngor ac ymadroddion heb wybodaeth, yw darllain matter â llais *annhrïodol* iddo; yn neillduol y naill fatter â llais y llall: byddai 'r anghysondeb hwn i'w glywed yn dra amlwg, yn yr Ysgrythyrau canlynol a'r cyffelyb. A phan nesäodd efe at y ffau, efe a lefodd ar Ddaniel

â llais *trist*—"Daniel, gwasanaethwr y DDUW byw, a all dy DDUW di, yr hwn yr wyt yn ei wasanaethu yn wastad, dy gadw di rhag y llewod?" Dan. 6. 20. "A'r arch-synagogydd a attebodd yn *ddigllon*, am i'r IESU iacháu ar y Sabbath, ac a ddywedodd wrth y bobl, "Chwe diwrnod sydd, yn y rhai y dylid gweithio: ar y rhain gan hyny deuwch, a iacháer chwi; ac nid ar y dydd Sabbath." Luc 13. 14. "Agorodd y ddaear——ei safn, a llyngcodd hwynt, a'u tai hefyd, a'r holl ddynion oedd gan Corah, a'u holl gyfoeth. A hwynt, a'r rhai oll ar a oedd gyd â hwynt, a ddisgynasant yn fyw i uffern: a'r ddaear a gauodd arnynt." Num. 16. 32, 33. "A'r ysprydion aflan,——a aethant i mewn i'r môch: a rhuthrodd y genfaint tros y dibyn i'r môr——ac a'u *boddwyd* yn y môr." Marc 5. 13. "Ewch oddi wrthyf, rai melltigedig i'r tân tragywyddol, yr hwn a barottowyd i ddiafol ac i'w angylion." Mat. 25. 41. "Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhâd, etifeddwch y deyrnas a barottowyd i chwi er seiliad y bŷd."—34. "Gwae, gwae it', medd yr ARGLWYDD DDUW." Ezec. 16. 23. "Gwyn dy fyd di, Simon mab Jona:" Math. 16. 17. "Fy nghroen a dduodd am danaf, a'm hesgyrn a wywasant gan wrês. Aeth fy nhelyn yn alar, a'm horgan fel llais rhai yn wylo." Job 30. 30, 31.

"Goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffŷ ymaith." Esay 35. 10. "Y gogoniant a ymadawodd o Israel: canys arch DUW a ddaliwyd." 1 Sam. 4. 22. "Wele, Dagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb, ger bron arch yr ARGLWYDD: a phen Dagon, a dwy gledr ei ddwylaw, oedd wedi tori ar y trothwy; corph Dagon yn unig a adawyd iddo ef." 1 Sam. 5. 4.

Mae rhai yn cymmeryd y *Gorphwysnodau (Stops)* yn rhëol anffaeledig i leisio wrthi; h. y. dal y llais *i fynu* wrth bob gorphwysnod, nes dyfod at y diweddnod: hefyd mai wrth *rifo* mae mesur amser pob gorphwysnod. Mae gorphwysnod priodol i bob *Tôn-nôd* yn rhëol i wybod hyd yr amser i orphwys; ond ni ddichon *chwe* math o orphwysnodau rëoli 'r *holl* wahanol bethau sydd yn y Gair, mewn na *llais*, nac *amser*; ond yn ol y byddo'r *matter* mae lleisio, a gorphwys, i osod allan y synwyr. Ni feiddiaf ddywedyd pa *faint* o wahaniaeth a ddylai fod rhwng Gofyniad a gofyniad, mewn na llais nac amser; o blegid eu bod yn amrywiol: ond mae'n amlwg bod rhagor.

Yn gyntaf, Nid *â'r un llais* y gofynnodd Pharao, a Paul "Pwy yw'r ARGLWYDD?" Mae'n amlwg bod rhai gofyniadau wedi cael eu hatteb yn *ebrwydd;* megis, "Pa fodd y mae y doeth yn marw? fel yr annoeth:" Preg. 2. 16. eraill yn hwy heb eu hatteb, megis "Pwy yw hwn sydd yn tywyllu cyngor ac ymadroddion heb wybodaeth??" Job 38. 2. Gwel 42. 3. eraill heb eu hatteb hyd *heddyw*, megis, "Pa le yr oeddit ti pan sylfaenais i 'r ddaear?"—Job 38. 4.

Yn ail, Mae llawer o wahaniaeth rhwng y naill Gyfryng-air (*Interjection*) a'r llall, mewn *llais* ac *amser:*——1. Mewn llais. Nid â'r un llais y gosodir allan synwyr yr ymadroddion canlynol, a'r cyffelyb. "Och! canys mawr yw y dydd hwn, heb gyffelyb iddo." Jer. 30. 7. "O mor ogoneddus oedd brenin Israel heddyw, yr hwn a ymddïosgodd heddyw yngŵydd llawforwynion ei weision, fel yr ymddïosgai un o'r ynfydion, gan ymddïosg!" 2 Sam. 6. 20. 2. Nid yn yr un faint o amser y gosodir allan synwyr yr ymadroddion canlynol. "Och fi! fy meistr; canys benthyg oedd." 2 Bren. 6. 5. "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth DUW!! mor anchwil-

iadwy yw ei farnau ef!! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!!"

Yn ail, Nid yr un faint o amser sydd i orphwys wrth *bob* Diweddnod. Ni ddylid gorphwys mewn un mân cyhyd ag yn niwedd matter; yno dylai 'r Darllenwr ymddangos i'r Gwrandawr fel pe bae wedi darfod darllain: neu ei fod yn newid y matter. Yn ail, ni osodir allan synwyr yr ymadroddion canlynol, a'r cyffelyb, wrth ddyfod a'r llais i lawr wrth y diweddnod. "Chwi a delwch fwy nâ llawer o adar y to." Math. 10. 31.—"Wedi dïangc oddi wrth y llygredigaeth sydd yn y bŷd trwy drachwant." 2 Pedr 1. 4.

Yn 3ydd, Ni osodir allan y synwyr wrth ddarllain, heb roddi 'r *Pwyslais* ar y lle prïodol yn yr ymadrodd; gwell peidio rhoddi pwyslais ar un gair mwy na'i gilydd, na'i gam roddi; o blegid, mae cam roddi'r pwyslais, mewn rhai mannau, yn lliosogi peth unigol, ac yn unigo pethau lliosog; h.y. rhoddi at, a thynnu oddiwrth *y Gair*, mewn llais. Ni ellir rhoddi pwyslais ar *DDUW*, neu Ddyn, neu Le, neu Beth, neu Ddywediad, (lle byddont yn cael eu henwi yn agos at eu gilydd) ond y tro cyntaf, heb eu lliosogi i glywedigaeth y gwrandawr. Yn gyntaf, "Un Duw sydd." 1 Tim. 2. 5. "Yn y dechreuad y crëodd *DUW* y nefoedd a'r ddaear. A Duw a ddywedodd, Bydded *goleuni*, a goleuni a *fu*. A Duw a welodd y goleuni mai *da* oedd: a Duw a *wahanodd* rhwng y goleuni a'r tywyllwch." Gen. I. Yr un modd, ni ddylid rhoddi pwyslais ar Dduw ond y tro cyntaf, pan byddo 'n cael ei enwi yn agos at eu gilydd tan amrywiol enwau; megis, "Yspryd DUW a'm gwnaeth i; ac anadl yr Hollalluog a'm *bywiocäodd* i." Job 33. 4. "DUW sydd eiddigus, a'r Arglwydd sydd yn *dïal* ac yn berchen llid." Nahum 1. 2. "Yr Arglwydd a daranodd o'r nefoedd, a'r Goruchaf a roddes ei lêf." 2 Sam. 22. 14. "Chwi a wadasoch y SANCT a'r Cyfiawn, ac a ddeisyfiasoch roddi i chwi ŵr llofruddiog; A Thywysog y bywyd a *laddasoch*."—Act 3. 14, 15. Yn ail, *ni* ddylid rhoddi 'r pwyslais ar yr un Dyn, ond y tro cyntaf, megis, "Gweision y *brenin*, y rhai oedd ym *mhorth* y brenin, a ddywedasant wrth Mordecai, 'Paham yr ydwyt ti yn troseddu *gorchymyn* y brenin?'" Esth. 3. 3. Yn drydydd, *ni* ddylid rhoddi 'r pwyslais ar yr un Lle, ond y tro cyntaf, megis, "Abimelech a ymladdodd yn erbyn y *ddinas*, yr holl ddiwrnod hwnw; ac efe a *ynnillodd* y ddinas, ac a laddodd y bobl oedd ynddi, ac a *ddistrywiodd* y ddinas." Barn. 9. 45. Yn bedwerydd, Ni ddylid rhoddi 'r pwyslais ar yr un Peth, ond y tro cyntaf, megis, "Trwy Ffydd yr offrymodd Abel i Dduw aberth rhagorach nâ Chain;—Trwy ffydd y symmudwyd *Enoch*, fel na welai farwolaeth;—Trwy ffydd, *Abraham*, pan ei galwyd, a *ufuddhäodd*." Heb. 11. 4, 5, 8. Yn bummed, Ni ddylid rhoddi 'r pwyslais ar yr un Dywediad, ond y tro cyntaf, megis, "Gwyn eu bŷd y tlodion yn yr Yspryd:—Gwyn eu byd y rhai *addfwyn*:—Gwyn eu byd y rhai *trugarogion*."—Math. 5. 3, 5, 7. Mae cam roddi 'r pwyslais, a dal y llais i fynu, (yn y modd y crybwyllwyd,) yn unigo pethau lliosog, yn lleihâu, ac yn distadlu mawrion weithredoedd Duw: yr hyn a welir yn amlwg wrth ddarllain yn y modd hyn, yr Ysgrythyrau canlynol, a'r cyffelyb. "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion;" Psalm 126. 3. "Cyngor yr Arglwydd a saif yn dragywydd;"—33. 11. "Ei enw fydd yn dragywydd: ei enw a bery tra fyddo haul;"—62. 17. "A minnau

ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol; ac ni chyfrgollant byth." Ioan 10. 28.

Yn 4ydd, Mae geiriau a fyddo rhwng Cromfaehau, i'w darllain yn gynt, o ran Amser, ac yn îs, o ran Llais, na'r cywair y darllenir y rhannau eraill ynddo: megis, "Ië, pan oeddym feirw mewn camweddau, a'n cyd-fywhäödd ni gyd â Christ (trwy râs yr ydych yn gadwedig) Ac a'n cyd-gyfododd, ac a'n gosododd i gyd eistedd yn y nefolion leoedd yng NGHRIST IESU." Ephes. 2. 5, 6.

Yn 5ed, Mae geiriau wedi eu prawf-nodi *(quoted)* i'w darllain yn gynt na'r man o'r lle y prawf-nodir hwynt; megis, (Hyn oll a wnaethpwyd, fel y cyflawnid yr hyn a ddywedwyd gan yr Arglwydd trwy'r prophwyd, gan ddywedyd, "Wele, morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab; a hwy a alwant ei enw ef Emmanuel; yr hyn o'i gyfieithu yw, Duw gyd â ni.") A Joseph pan ddeffroes o gwsg, a wnaeth megis y gorchymynasai angel yr Arglwydd iddo, ac a gymmerodd ei wraig: Mat. 1. 22, 23, 24.

Yn 6ed, Mae pob hanes i'w ddarllain yn gynt na'r matter: megis "Y cymmydogion,—— a'r rhai a'i gwelsant ef o'r blaen, mai dall oedd ef, a ddywedasant, '*Onid* HWN *yw yr un oedd yn eistedd ac yn cardotta?*' Rhai a ddywedasant, '*Hwn* YW *efe:*' ac eraill, '*Y mae efe yn* DEBYG *iddo.*' Yntau a ddywedodd, '*Myfi* YW *efe.*'" Ioan 9. 8, 9. "Gehazi a ganlynodd ar ol Naaman. A phan welodd Naaman ef yn rhedeg ar ei ol, efe a ddisgynodd oddiar y cerbyd i'w gyfarfod ef, ac a ddywedodd, '*A yw pob peth yn dda?*' Dywedodd yntau, '*Y* MAE *pob peth yn dda.*'"

Yn 7fed, I osod allan y synwyr, dylid ymegnïo i ddarllain â'r llais, ae yn yr amser y tebygid i'r geiriau gael eu llefaru; a newid y llais yn ol y newidio 'r matter. Mae 'n rhaid gwahaniaethu yn y *sain*;* yn gyntaf, wrth ddarllain yr un geiriau, a fyddo ar wahanol bethau, eyn y *gwelir* y matter a fyddo yn yr ymadrodd. Yn ail, Rhwng Arglwydd yn siarad â Gwâs, a Gwâs yn siarad ag Arglwydd. Yn drydydd, Rhwng ymadrodd Bygythiol, ae ymadrodd Dychrynedig. Yn bedwerydd, Rhwng ymadrodd Gwatworus, ac ymadrodd Difrifol. Yn bumed, Rhwng ymadrodd Creulon, ac ymadrodd Digalon. Yn chweched, Rhwng ymadrodd Hunanol, ac ymadrodd Hunanymwadol, &c. Yn seithfed, Nerthol trwy DDUW a Gobeithiol.

Yn gyntaf. Gwahaniaethu yn y sain wrth ddarllain yr un geiriau, &c. Yr enwau priodol i'r ddau Lais yn y matter hwn yw, Nerthol (*Forte*) Tyner (*Piano.*)

Gair nerthol yw'r gair *Dïau*, er hyny nid ydyw i'w leisio felly ar *bob* achos, megis y gwelir.

*Nerthol.*—"*Ysbïwyr* yn *ddïau* ydych chwi." Gen. 42. 16.

*Tyner.*——"Dïau *bechu* o honom yn erbyn ein brawd."——21.

*Nerth.*—"Yn *ddïau* yn yr ARGLWYDD (medd un) y mae i mi gyfiawnder a nerth." Esay 45. 24.

---

* 1 Cor. 14, 7—9. Gwel y tôn-nôdau ar y geiriau hyn, "I ti, ARGLWYDD, y perthyn cyfiawnder, ond i ni gywilydd wynebau, megis heddyw." Siampl 28.

D. S. Nid yw "I ni gywilydd wynebau," yn eiriau cân; ond Cwynfaniad yn hytrach: (Gwel tu dalen 7.) ond gan eu bod yn ymyl Geiriau Cân, cymmerais yr achlysur i ddangos, hyd y gallwn, y gwahaniaeth yn y sain.

*Tyn.*—"Yn ddïau dyma *ofid*, a mi a'i dygaf." Jer. 10. 16.

*Nerth.*—"Pwy yw yr ARGLWYDD?" Ex. 5. 2.

*Tyn.*—"Pwy *wyt* ti ARGLWYDD?" Act. 19. 5.

Yn ail. Rhwng *Arglwydd* yn siarad â *Gwâs*, &c. Mae 'n *Ostyngeiddrwydd* mewn arglwydd siarad mewn llais Gwas,* ond yn *anweddaidd* i was siarad â llais awdurdodol âg arglwydd neu ei feistr. "Gwelais weision ar feirch, a thywysogion yn cerdded fel gweision ar y ddaear." Preg. 10. 7. "Nid gweddaidd i ffôl hyfrydwch: anweddeiddiach o lawer i was arglwyddiaethu ar bennaethiaid." † Diar. 19. 10. Mae'n weddaidd i was, pan fyddo'n Gennad dros ei arglwydd, draethu ei Gennadwri â llais ei arglwydd. ‡

Y Cywair Mwyaf, (*Major Key*) sydd brïodol i lais *arglwydd*, a'r Lleiaf (*Minor*) i lais *gwas*.

*Mwyaf.*—"Paid â mi," &c. Deut. 9. 14.

*Lleiaf.*—"Yna y dywedais, ARGLWYDD DDUW, paid, attolwg." Amos 7. 5.

* "Yr hwn, ac efe (sef IESU) yn ffurf DUW,---a'i dibrisiodd ei hun, gan gymmeryd arno agwedd gwâs." Phil. 2. 6, 7.

† "Oni wyddost ti fod gennyf awdurdod i'th groeshoelio di, a bod gennyf awdurdod i'th ollwng yn rhydd?" Ioan 19. 10.

‡ "Fel y rhodder i mi (Paul) ymadrodd, trwy agoryd fy ngenau yn hŷ, i hyspysu dirgelwch yr Efengyl: dros yr hon yr wyf yn gennad mewn cadwyn: fel y traethwyf yn hŷ am dani, fel y perthyn i mi draethu." Eph. 6. 19, 20. "Yr ydwyf (Paul) yn gorchymmyn i ti, yn enw IESU GRIST, fyned allan o honi," Act 16. 18; "Gollwng ymmaith fy mhobl," &c. Ex. 5. 1.

*Mwy.*—"Paid di â DUW, yr hwn sydd gyd â mi, fel na ddifetho efe dydi." 2 Chron. 35. 21.

*Llei.*—"Paid,—gad im' lonydd." Job 10. 20.

*Mwy.*—"Digon bellach: attal dy law." 2 Sam. 24. 16.

*Llei.*—"Digon yw: yn awr, ARGLWYDD, cymmer fy einioes." 1 Bren. 19. 4.

*Mwy.*—"Nag ê, eithr brenin fydd arnom ni." 1 Sam. 8. 19.

*Llei.*—"Nag ê fy mrodyr, nag ê attolwg." Barn. 19. 23.

Yn drydydd, Ymadrodd Bygythiol, ac ymadrodd Dychrynedig;

*Nerthol bygythiol.*—"Gan fygwth bygythiwn hwy, na lafaront mwyach wrth un dyn yn yr enw hwn." Act 4. 17.

*Tyner dychrynedig.*—"Pan glywais, fy mol a ddychrynodd; fy ngwefusau a grynasant wrth y llef: daeth pydredd i'm hesgyrn, ac yn fy lle y crynais." Hab. 3. 16.

*Nerth.*—"Saul a daflodd y wayw-ffon, ac a ddywedodd, 'Tarawaf trwy Ddafydd yn y pared.'" 1 Sam. 18. 11.

*Tyn.*—"Ofn a ddaeth arnaf, a dychryn, ac a wnaeth i'm holl esgyrn grynu." Job 4. 14.

*Nerth.*—"Tâl i mi yr hyn sydd ddyledus arnat." Mat. 18. 28.

*Tyn.*—"Bydd ymarhoûs wrthyf, a mi a dalaf i ti y cwbl oll." adn. 29.

*Nerth.*—"Myn einioes Pharao, nid ewch allan oddi yma, onid trwy ddyfod o'ch brawd ieuangaf yma." "Ysbïwŷr ydych chwi." Gen. 42. 15. 14.

*Tyn.*—"Nag ê fy arglwŷdd."—10.

Yn bedwerydd, Gwatworus a Difrifol.

*Nerth.*—"A bu ar hanner dydd i Elïas eu gwatwor hwynt, a dywedyd, 'Gwaeddwch â llêf uchel: canys duw yw efe; naill ai ymddiddan y mae, neu erlid, neu ymdeithio y mae efe; fe a allai ei fod yn cysgu, ac mae rhaid ei ddeffro ef.'" 1 Bren. 18. 27.

*Tyn.*——"Hwy a alwasant ar enw Baal o'r bore hyd hanner dydd, gan ddywedyd, 'Baal gwrando ni.'"——26.

*Nerth.*—"Ti yr hwn a ddinistri 'r deml, ac a'i hadeiledi mewn tridiau, gwared dy hun. Os ti yw mab Duw, disgyn oddi ar y groes." Mat. 27. 40. "Efe a waredodd eraill, ei hunan ni's gall efe ei waredu. Os brenhin Israel yw, disgyned yr awr hon oddi ar y groes," &c.--42.

*Tyn.*——"Yn wir Mab Duw ydoedd hwn."——54.

Yn bummed, Creulon, a Digalon.

*Nerth.*—"Mi a erlidiaf, mi a oddiweddaf, mi a rannaf yr yspail; tynnaf fy nghleddyf, fy llaw a'u difetha hwynt." Ex. 15. 9.

*Tyn.*——"Fy nghalon sydd fel cwyr, hi a doddodd ynghanol fy mherfedd." Psalm 22. 14.

*Nerth.*—"Tyred attaf fi, a rhoddaf dy gnawd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y maes." 1 Sam. 17. 44.

*Tyn.*——"Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi: canys y mae'r Philistiaid yn rhyfela yn fy erbyn i, a Duw a giliodd oddi wrthyf fi, ac nid yw yn fy atteb mwyach, na thrwy law prophwydi, na thrwy freuddwydion." 1 Sam. 28. 15.

*Nerth.*—"Gwneir chwi yn ddrylliau, a'ch tai a osodir yn dommen." Dan. 2. 5.

*Tyn.*——"Fel mai byw yr Arglwydd dy Dduw, nid oes gennyf deisen, ond llonaid llaw o flawd mewn celwrn, ac ychydig olew mewn ystên, ac wele fi yn casglu dau o friwydd, i fyned i mewn, ac i barottôi hyny i mi ac i'm mâb fel y bwyttäom hyny ac y byddom feirw." 1 Bren. 17. 12.

Yn chweched, Hunanol, a Hunan-ymwadol.

*Nerth.*—"Onid hon yw Babilon fawr, yr hon a adeiledais i yn frenhindŷ ynghryfder fy nerth, ac er gogoniant fy mawrhydi." Dan. 4. 30.

*Tyn.*——"Mor ynfyd oeddwn, ac heb wybod: anifail oeddwn o'th flaen di." Psalm 73. 22.

*Nerth.*—"Onid o'n nerth ein hun y cymmerasom i ni gryfder." Amos 6. 13.

*Tyn.*——"Trugarhâ wrthyf, Arglwydd; canys llesg ydwyf fi." Psalm 6. 2.

*Nerth.*—"Gwnaethom ammod ag angeu, ac ag uffern y gwnaethom gyngrair; pan ddel ffrewyll lifeiriol, ni ddaw attom ni: canys gosodasom ein gobaith ar gelwydd, a than ffalsder y llechasom." Esay 28. 15.

*Tyn.*——"Pechais yn ddirfawr yn yr hyn a wnaethum: ac yn awr dilëa, attolwg O Arglwydd, anwiredd dy wâs; canys ynfyd iawn y gwnaethum." 2 Sam. 24. 10.

*Nerth.*—"A'n tafod y gorfyddwn; ein gwefusau sydd eiddom ni: pwy sydd arglwydd arnom ni?" Psalm 12. 4.

*Tyn.*——"Fy nhâd, pechais yn erbyn y nêf, ac o'th flaen dithau; ac mwyach nid ydwyf yn deilwng i'm galw yn fab i ti." Luc 14. 21.

Yn seithfed, Nerthol trwy Dduw, a Gobeithiol.

*Nerth.*—"Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu i." Phil. 4. 13.

*Tyn.*—"Wele, yn lle heddwch i mi chwerwder chwerw: ond o gariad ar fy enaid y gwaredaist ef o bwll llygredigaeth: canys ti a deflaist fy holl bechodau o'r tu ôl i'th gefn." Esay 38. 17.

*Nerth.*—"Yn Nuw yr ymffrostiwn bob dydd; ynnot ti y cilgwthiwn ni ein gelynion: yn dy enw di y sathrwn y rhai a gyfodant i'n herbyn." Psalm 44. 8, 5.

*Tyn.*—"Os creffi ar anwireddau, Arglwydd; O Arglwydd pwy a saif? Ond y mae gyd â thi faddeuant, fel y'th ofner." Ps. 130. 4.

*Nerth.*—"Ynnot ti y rhedais trwy fyddin; yn fy Nuw y llemmais dros fûr." Psalm 18. 29.

*Tyn.*—"Ond yr wyf fi yn dlawd, ac yn anghenus; etto yr Arglwydd a feddwl am danaf.' Psalm 40. 17.

Nerthol Hunanol, a Nerthol trwy Dduw.

*Hun.*—Tyred attaf fi, a rhoddaf dy gnawd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y maes." 1 Sam. 17. 44.

*Trwy Dduw.*—"Ti ydwyt yn dyfod attaf fi â chleddyf, ac â gwaywffon, ac â tharian; a minneu ydwyf yn dyfod attat ti yn enw Arglwydd y lluoedd, Duw byddinoedd Israel, yr hwn a geblaist ti: Y dydd hwn y dyru 'r Arglwydd dydi yn fy llaw i, a mi a'th darawaf di, ac a gymmeraf ymmaith dy ben oddi arnat; ac a roddaf gelanedd gwersyll y Philistiaid y dydd hwn i ehediaid y nefoedd, ac i fwystfilod y ddaear; fel y gwypo 'r holl ddaear fod Duw yn Israel." 1 Sam. 17, 46.

*Hun.*—"Oni addolwch chwi fy nuwiau i, ac oni ymgrymwch i'r ddelw aur a gyfodais i? onid ymgrymwch, yr awr honno y bwrir chwi i ganol ffwrn o dân poeth; a pha dduw yw efe a'ch gwared chwi o'm dwylaw i?" Dan. 3. 14, 15.

*Trwy Dduw.*—"Nid ydym ni yn gofalu am atteb it' yn y peth hyn. Wele y mae ein Duw ni, yr hwn yr ydym ni yn ei addoli, yn abl i'n gwared ni allan o'r ffwrn dânllyd boeth: ac efe a'n gwared ni o'th law di, O frenhin."—16. 17.

# CYFARWYDDIADAU I GANU A'R DEALL.

I GANU â'r *dëall,* mae'n ofynol bod sylwedd yr Ymadrodd yn *sain* yr Ymadroddwr; fel y dywedo 'r hwn sydd yn cyflawni lle 'r anghyfarwydd Amen.* Mae'n angenrheidiol gwybod *grym* y llais,† i roddi gwahaniaeth rhwng sain geiriau *Erfyniadol* a geiriau *Gorfoleddus,* Geiriau erfyniadol, yn y Cywair Lleiaf *(Minor Key)* a geiriau gorfoleddus yn y Mwyaf (*Major.*)

"Yr Arglwydd a orchymyn ei drugaredd liw dydd, a'i gân fydd gyda mi liw nôs; sef gweddi ar Dduw fy einioes." Ps. 42. 8.

*Tyner ac araf.*—"Crëa galon lân ynnof, O Dduw; ac adnewydda yspryd uniawn o'm mewn," Psal. 51. 10. "Attolwg, Arglwydd, achub yn awr: attolwg, Arglwydd, par yn awr lwyddiant." Psal. 118. 25. "Clyw Arglwydd; arbed Arglwydd; ystyr, O Arglwydd, a gwnâ; nac oeda er dy fwyn dy hun, O fy Nuw." Dan. 9. 19.

*Tra thyner ac araf.*—"Trugarhâ wrthyf, Arglwydd, canys cyfyng yw arnaf." Psalm 31. 9. "Yn ol dy drugaredd meddwl di am danaf, er mwyn dy ddaioni, Arglwydd. Er mwyn dy enw, Arglwydd, maddeu fy anwiredd: canys mawr yw. Tro attaf, a thrugarhâ wrthyf; canys unig a thlawd ydwyf."—25. 7, 11. 16. "Dychwel, Arglwydd, gwared fy enaid: achub fi er mwyn dy drugaredd."—6. 4.

* "Ezra a fendithiodd yr Arglwydd, y Duw mawr, A'r holl bobl a attebasant, Amen, Amen," &c, Neh. 8. 6. [&c. 1 Cor. 14. 11.

† "Oni wn i rym y llais, mi a fyddaf farbariad i'r hwn sydd yn llefaru,"

"Yr holl bobl, curwch ddwylaw: llafar-genwch i Dduw â llêf gorfoledd."—47. 1. "Ewch i mewn i'w byrth ef â diolch, ac i'w gynteddau â mawl: diolchwch iddo, a bendithiwch ei enw."—100. 4.

*Nerthol a bywiog.*—"Wele, dyma ein Duw ni: gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw: dyma yr Arglwydd; gobeithiasom ynddo, gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef." Esay 25. 9. "Dïolch i ti O Arglwydd Dduw Hollalluog." Dat. 11. 7. "Teilwng wyt O Arglwydd, i dderbyn gogoniant, ac anrhydedd," &c.—4. 11. "Teilwng yw'r Oen."—5. 12. "Canys godidowgrwydd a wnaeth efe: hyspys yw hyn yn yr holl dir." Esay 12. 5. "Bendigedig wyt ti Arglwydd Dduw Israel, o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." 1 Chron. 29. 10.

"Na floeddiwch,—hyd y dydd y dywedwyf wrthych, Bloeddiwch; yna bloeddiwch." Jos. 6. 10. ("Gwahôddodd Arglwydd Dduw 'r lluoedd rai i wylofain, ac i alarnad, ac i foeledd, ac i ymwregysu â sach-liain: Ac wele lawenydd a gorfoledd," &c. Esay 22. 12, 13.) "Llawen-floeddiwch i Dduw, yr holl ddaear." Psalm 66. 1.

*Tra Nerthol a bywiog.*—"Bloeddia preswylferch Sïon: canys mawr yw Sanct Israel o'th fewn di." Esay 12. 6. "Bendithier dy enw gogoneddus a dyrchafedig, goruwch pob bendith a moliant." Neh. 9, 5. "Bendigedig yw'r hwn sydd yn dyfod yn enw'r Arglwydd: Hosanna yn y goruchafion." Math. 21. 9.

# CASGLIAD O EGWYDDORION GWIR FOLIANWYR YR ARGLWYDD,

## *YN HOLIADAU AC ATTEBION.*

---

*Holiad.*—I *Bwy* y byddai 'r Duwiolion yn canu?

*Attebiad.*—I'r ARGLWYDD. "Gynt yn nyddiau Dafydd ac Asaph, yr oedd y pen-cantorion, a chaniadau canmoliaeth a moliant i DDUW." Neh. 12. 46. Canodd *Moses a meibion Israel* i'r ARGLWYDD." Ex. 15. 1. Canodd *Debora a Barac,*—gan ddywedyd,—"Myfi, myfi a ganaf i'r ARGLWYDD; canaf fawl i ARGLWYDD, DDUW Israel." Barn. 5, 1. 2. *Jehosaphat* a osododd gantorion i'r ARGLWYDD." 2 Chron. 20. 20, 21. Dywedodd *Dafydd*—eneiniog DUW Jacob, a pheraidd ganiadydd Israel; 2 Sam. 23. 1. "*Minneu* a'th foliannaf—O fy NUW: canaf it'—O SANCT Israel. Fy ngwefusau a fyddant *hyfryd* pan ganwyf i ti." Psalm 71. 22, 23. "Beunydd y'th fendithiaf; *a'th enw* a folaf byth ac yn dragywydd." Psalm 145. 2. "Fel y cano fy ngogoniant i ti, ac na thawo. O ARGLWYDD fy NUW, yn dragywyddol y'th foliannaf." Psalm 30, 12. &c.

*H.*—*Am* ba beth y byddai eu Cân.

*A.*—"*Y* rhai—a osododd Dafydd yn gantorion yn nhy'r ARGLWYDD, 1 Chron. 6. 31,—a gyd-ganasant, wrth foliannu ac wrth glodfori yr ARGLWYDD, mai *da* oedd, mai yn dragywydd yr ydoedd ei drugaredd ef ar Israel. A'r holl bobl a floeddiasant â bloedd fawr, gan foliannu yr ARGLWYDD, *am sylfaenu tŷ yr* ARGLWYDD." Ezra 3. 11. Moses a meibion Israel—a lefarasant gan ddywedyd, "Canaf i'r ARGLWYDD; canys *gwnaeth yn rhagorol iawn: tafiodd y march a'i farchog i'r mor.*" Ex. 15. 1. Canodd Debora a Barac,—gan ddywedyd, "*Am ddïal dïaleddau Israel, &c.* myfi, myfi a ganaf i'r ARGLWYDD," &c. Barn. 5. 1. 3.. Jehosaphat—a ddywedodd,—"Clodforwch yr ARGLWYDD, *o herwydd ei drugaredd a bery yn dragywydd.*" 2 Chron. 20. 20, 21. Dywedodd Dafydd "Minneu a ganaf *am dy nerth,* ïe, llafar-ganaf *am dy drugaredd* yn fore: canys buost yn ymddiffynfa i mi ac yn noddfa yn y dydd y bu cyfyngder arnaf," Psalm 59. 16.

*H.*—Pa *Eiriau* fyddai eu Cân?

*A.*—Rhoddes Dafydd y *Psalm* hon yn gyntaf i foliannu 'r ARGLWYDD, yn llaw Asaph a'i frodyr. "Moliennwch yr ARGLWYDD, gelwch ar ei enw ef, hyspyswch ei weithredoedd ef ym mhlith y bobloedd. Cenwch iddo, clodforwch ef, ymadroddwch am ei holl ryfeddodau.—Cenwch i'r ARGLWYDD yr holl ddaear: mynegwch o ddydd i ddydd ei iachawdwriaeth ef. Adroddwch ei ogoniant ef ym mhlith y Cenhedloedd; a'i wyrthiau ym mhlith yr holl bobloedd. Canys mawr yw'r ARGLWYDD a chanmoladwy iawn:—

Go---gon--iant a hardd-wch sydd ger ei fron ef; nerth a gor---fol---edd yn ei fan---gre ef.

Moeswch i'r ARGLWYDD, chwi deuluoedd y bobloedd, moeswch i'r ARGLWYDD ogoniant a nerth.——Clodforwch yr ARGLWYDD; canys *da* yw: o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd. A dywedwch, achub ni O DDUW ein hiachawdwriaeth, casgl ni, hefyd, a gwared ni oddi wrth y cenhedloedd, i foliannu dy enw sanctaidd di, ac i ymogoneddu yn dy foliant. *Bendigedig* fyddo ARGLWYDD DDUW Israel, o dragywyddoldeb *hyd* dragywyddoldeb. A dywedodd yr holl bobl, Amen, gan foliannu 'r ARGLWYDD. 1 Chron. 16. Canodd Moses a meibion Israel y gân hon i'r ARGLWYDD, "Fy nerth a'm cân yw 'r ARGLWYDD; ac y mae efe yn iachawdwriaeth i mi: efe yw fy NUW, efe a ogoneddaf fi; DUW fy nhad, a mi a'i dyrchafaf ef. Yr ARGLWYDD sydd ryfelwr: yr ARGLWYDD yw ei enw.——Dy ddeheulaw, ARGLWYDD, sydd ardderchog o nerth;——

Pwy sydd *debyg i ti*, O ARGLWYDD ym mhlith y duwiau? pwy fel tydi, *yn ogoneddus* mewn sancteiddrwydd, yn ofnadwy mewn moliant, *yn gwneuthur rhyfeddodau? &c*, Ex. 15. 1, 3, 6, 11. Bendithiodd Dafydd yr ARGLWYDD yngŵydd yr holl dyrfa, a dywedodd Dafydd, *Bendigedig wyt ti*, ARGLWYDD DDUW, Israel, Ein tâd ni, o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb. I ti, ARGLWYDD, y mae *mawredd*, a *gallu*, a *gogoniant*, a *goruchafiaeth*, a *harddwch*: canys y *cwbl* yn y nefoedd ac yn y ddaear sydd eiddot ti, y *deyrnas* sydd eiddot ti, ARGLWYDD, yr hwn hefyd a ymddyrchefaist yn *ben ar bob peth*. *Cyfoeth* hefyd ac *anrhydedd* a ddeuant *oddi wrthyt ti*, a thi sydd yn *arglwyddiaethu* ar bob peth, ac yn dy law di y mae nerth a *chadernid*; yn dy law di hefyd y mae *mawrhau*, a nerthu pob dyn." 1 Chron. 29. 10---12.

"*Bendigedig* fyddo *enw'r* ARGLWYDD, o hyn allan ac yn dragywydd. O godiad haul hyd ei fachludiad moliannus yw enw 'r ARGLWYDD. Uchel yw yr ARGLWYDD goruwch yr holl genhedloedd; a'i ogoniant sydd goruwch y nefoedd." Psalm 113. 2, 4. "Yr ARGLWYDD yw fy nghraig, a'm hymddiffynfa, am gwaredydd i; DUW fy nghraig, ynddo ef yr ymddiriedaf: fy nharian, a chorn fy iachawdwriaeth, fy ucheldwr a'm noddfa, fy achubwr; &c. Am hyny y molianaf di, O ARGLWYDD, ym mhlith y cenhedloedd, ac y canaf i'th enw. *Byw fyddo* 'r ARGLWYDD, a bendigedig fyddo fy nghraig; a *dyrchafer* DUW, craig fy iachawdwriaeth." 2 Sam. 22. 2, 3, 50, 47. "Dyrchafaf di, fy NUW, O FRENHIN; a bendithiaf dy enw byth ac yn dragywydd. Beunydd y'th fendithiaf; a'th enw a folaf byth ac yn dragywydd. Mawr yw yr ARGLWYDD a chanmoladwy iawn; a'i fawredd sydd *anchwiliadwy.* Ardderchawgrwydd gogoniant dy fawredd, a'th bethau rhyfedd, a draethaf. Traethant hwy gadernid dy weithredoedd ofnadwy: mynegaf finneu dy fawredd. Coffadwriaeth amlder dy ddaioni a draethant; a'th gyfiawnder a ddatganant. Graslawn a thrugarog yw yr ARGLWYDD; hwyrfrydig i ddig, a mawr ei drugaredd. Daionus yw yr ARGLWYDD *i bawb:* a'i drugaredd sydd ar ei holl weithredoedd. Dy holl weithredoedd a'th glodforant O ARGLWYDD; a'th saint a'th fendithiant. Dywedant am ogoniant dy frenhiniaeth; a thraethant dy gadernid; I beri i feibion dynion *adnabod* ei gadernid ef, a gogoniant ardderchawgrwydd dy frenhiniaeth. Dy frenhiniaeth di sydd frenhiniaeth dragywyddol: a'th lywodraeth a bery yn oes oesoedd. Yr ARGLWYDD sydd yn cynnal y rhai oll a syrthiant, ac sydd yn codi pawb a ddarostyngwyd. Llygaid pob peth a ddisgwyliant wrthyt; ac yr ydwyt yn rhoddi eu bwyd iddynt yn ei bryd; gan agoryd dy law a diwallu pob peth byw, â'th ewyllys da. Cyfiawn yw yr ARGLWYDD yn ei holl ffyrdd, a sanctaidd yn ei holl weithredoedd. Traetha fy ngenau foliant yr ARGLWYDD: a bendithied pob cnawd ei enw sanctaidd ef byth ac yn dragywydd." Psalm 145. "Yr holl ddaear a'th addolant di, ac a ganant i ti; ïe, canant i'th enw. Minneu a'th foliannaf ar offeryn nabl, sef dy *wirionedd* O fy NUW."—71. 22. "*Dy ddeddfau* oedd fy nghân yn nhŷ fy mhererindod. Fy nhafod a ddatgan *dy air:* o herwydd dy holl orchymynion sydd gyfiawnder."—119. 54, 172. "Clodforaf yr ARGLWYDD yn ol ei gyfiawnder; a chanmolaf enw'r ARGLWYDD goruchaf."--7. 17 "Da yw moliannu 'r ARGLWYDD, a chanu mawl i'th enw di y Goruchaf, a mynegi 'r bore am dy drugaredd, a'th wirionedd y nosweithiau."—92. 1, 2. "Dy drugaredd ARGLWYDD sydd hyd y nefoedd a'th wirionedd hyd y cymmylau. Mor werthfawr yw dy drugaredd, o DDUW!"—36. 5, 7. "Wrthyt ti y'm cynhaliwyd o'r bru; ti a'm tynnaist o grôth fy mam: fy mawl fydd yn wastad am danat ti."—71. 6. "Canys mawr yw dy drugaredd tu ag attaf fi: a gwaredaist fy enaid o uffern isod."—86. 13. "O bobloedd, bendithiwch ein DUW; a pherwch glywed llais ei fawl ef: yr hwn sydd yn gosod ein henaid mewn bywyd, ac ni âd i'n troed lithro. Llefais arno â'm genau, ac efe a ddyrchafwyd â'm tafod. DUW yn ddïau a glybu, ac a wrandawodd ar lais fy ngweddi. *Bendigedig* fyddo DUW, yr hwn ni thrôdd fy ngweddi oddi wrtho, na'i drugaredd ef oddi wrthyf finneu."—66. 8, 9, 17, 19, 20. "*Trugareddau* 'r ARGLWYDD a *ddatganaf* byth." "Cyfododd

fi——o'r pydew erchyll, allan o'r pridd tomlyd; ac a osododd fy nhraed ar graig, gan hwylio fy ngherddediad. A rhoddodd yn fy ngenau ganiad newydd o foliant i'n Duw ni."—40. 2. 3. "Molaf yr Arglwydd *yn fy myw,* canaf i'm Duw tra fyddwyf."—146. 2. "*Bendigedig* fyddo 'r Arglwydd Dduw, Duw Israel, yr hwn yn unig sydd yn gwneuthur rhyfeddodau. *Bendigedig hefyd fyddo ei enw gogoneddus ef yn dragywydd;* a'r holl ddaear a lanwer o'i ogoniant. Amen, ac Amen.."—72. 18. 19. "Wele Duw yw fy iachawdwriaeth; gobeithiaf, ac nid ofnaf: canys yr Arglwydd Dduw yw fy nerth a'm cân; efe hefyd yw fy iachawdwriaeth." Esay 12. 3. "O Arglwydd, fy Nuw ydwyt; dyrchafaf di, moliannaf dy enw; canys gwnaethost ryfeddodau: dy gynghorion er ys talm sydd wirionedd a sicrwydd."—25. 1, 4. "Bendigedig fyddo enw Duw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb: canys doethineb a nerth ydynt eiddo ef." Dan. 2. 20. "Noeth y daethum o groth fy mam, a noeth y dychwelaf yno. Yr Arglwydd a roddodd a'r Arglwydd a ddygodd ymaith; *bendigedig* fyddo enw'r Arglwydd." Job 1. 21. A Hannah a weddïodd, ac a ddywedodd, "Llawenychodd fy nghalon yn yr Arglwydd, fy nghorn a ddyrchafwyd yn yr Arglwydd: fy ngenau a ehangwyd ar fy ngelynion: canys llawenychais yn dy iachawdwriaeth di. Nid sanctaidd neb fel yr Arglwydd; canys nid dim hebot ti: ac nid oes graig fel ein Duw ni. ——Yr Arglwydd sydd yn marwhâu, ac yn bywhâu: efe sydd yn dwyn i wared i'r bedd, ac yn dwyn i fynu. Efe sydd yn cyfodi 'r tlawd o'r llwch, ac yn dyrchafu 'r anghenus o'r tommennau, i'w gosod gyd â thywysogion, ac i beri iddynt etifeddu teyrn-gadair gogoniant: canys eiddo yr Arglwydd colofnau y ddaear, ac efe a osododd y byd arnynt." 1 Sam. 2. 1, 2, 6—8. A'r Lefiaid, Jesua, a Chadmiel, Bani, Hasabnïah, Serebïah, Hodïah, Sebanïah, a Phethahïah, a ddywedasant, "Cyfodwch, bendithiwch yr Arglwydd eich Duw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb: a bendithier dy enw gogoneddus a dyrchafedig, *goruwch pob bendith a moliant.* Ti yn *unig* wyt Arglwydd: ti a wnaethost y nefoedd, nefoedd y nefoedd, a'u holl luoedd hwynt, y ddaear a'r hyn oll sydd arni, y moroedd a'r hyn oll sydd ynddynt; *a thi* sydd yn eu cynnal hwynt oll; *a llu'r nefoedd* sydd yn ymgrymmu i ti. Ti ydwyt Dduw parod i faddeu, graslawn, a thrugarog, hwyrfrydig i ddigter, ac aml o drugaredd," &c. Neh. 9. 5, 6, 17. Zecharïas——a brophwydodd, gan ddywedyd, "*Bendigedig* fyddo Arglwydd Dduw Israel: canys efe a ymwelodd, ac a wnaeth ymwared i'w bobl," &c. A dywedodd Mair, "Y mae fy enaid yn mawrhâu 'r Arglwydd, A'm hyspryd a lawenychodd yn Nuw fy Iachawdwr. Canys efe a edrychodd ar waeledd ei wasanaethyddes;——Canys yr hwn sydd alluog a wnaeth i mi fawredd; a sanctaidd yw ei enw ef. A'i drugaredd sydd yn oes oesoedd," &c. Luc 1. 67, 68, 46. Ac wele yr oedd gwr yn Jerusalem a'i enw Simeon; a'r gwr hwn———a fendithiodd Dduw, ac a ddywedodd, "Yr awr hon Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd yn ol dy air: Canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth." Luc 2. 29, 30. Y disgyblion—A'r torfeydd, y rhai oedd yn myned o'r blaen, a'r rhai oedd yn dyfod ar ol, a lefasant, gan ddywedyd, "Hosanna i fab Dafydd: *Bendigedig* yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw 'r Arglwydd: Hosanna yn y goruchafion." Mat. 21.6,9.

A dywedodd Paul, "*Bendigedig* fyddo Duw a Thâd ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendith ysprydol yn y nefolion leoedd yng Ngrist." Eph. i. 3. "Ac i'r Brenhin tragywyddol, anfarwol, anweledig, i'r Duw unig ddoeth, y byddo anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen." 1 Tim. 1. 17. Dywedodd Pedr "*Bendigedig* fyddo Duw a Thâd ein Harglwydd Iesu Grist." 1 Pedr 1. 3. A dywedodd Judas gwasanaethwr Iesu Grist, "I'r unig ddoeth Dduw, ein Hiachawdwr ni, y byddo gogoniant a mawredd, gallu ac awdurdod, yr awr hon ac yn dragywydd. Amen." Judas 25.

*H.*—A oes gorchymyn i *bawb* ganu i Dduw?

*A.*—*Oes.* "Yr *holl* bobl, curwch ddwylaw; llafar-genwch i Dduw â llêf gorfoledd." Psalm 47. 1. "Molianned yr *holl* bobl dydi."—67. 3. "*Brenhinoedd* y ddaear, a'r holl bobloedd, *tywysogion*, a holl *farnwŷr* y byd: *Gwŷr ieuaingc*, a *gwŷryfon* hefyd; *henafgwŷr* a *llangciau.* Molant enw yr Arglwydd."—148. 11. 12. "*Pob* perchen anadl, molianned yr Arglwydd. Molwch yr Arglwydd."—150. 6.

*H.*—Pa eiriau a *ddylem* ganu i'r Arglwydd?

*A.*—"Oni *ysgrifenais* i ti eiriau ardderchog* o gyngor a gwybodaeth." Diar. 22. 20. "Chwiliodd y Pregethwr am eiriau *cymmeradwy*; a'r hyn oedd ysgrifenedig oedd *union*, sef *geiriau gwirionedd.*" Preg. 12. 10. "*Psalmau*, a *hymnau*, ac *odlau ysprydol.*" Col. 3. 16. "A oes neb yn esmwyth arno? caned Psalmau." Iago 5. 13.

* Gwel tu dalen 19—21

*H.*—Pa beth *yw* Psalmau,* a hymnau, ac odlau ysprydol?†

*A.*—"Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw." 2 Tim. 3. 16. "Pa bethau bynnag a ysgrifenwyd o'r blaen, er *addysg* i ni yr ysgrifenwyd hwynt." Rhuf. 15. 4.

*H.*—A oes dim *angenrheidrwydd* am ddim *ond* Geiriau ysprydol i foliannu'r Arglwydd?

*A.*—*Nag oes.* "Rhoddes ei dduwiol allu ef i ni *bob peth* a berthyn i *fywyd* a *duwioldeb.*" 2 Pedr 1. 3. "A phob peth sydd *barod.*" Mat. 22. 4. "Geiriau'r Arglwydd ydynt eiriau purion, fel arian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd, wedi ei buro seith-waith." Psalm 12. 6. "Fy nhafod a ddatgan dy air."—119. 172. "Purwyd dy ymadrodd yn ddirfawr: am hyny y mae dy wâs yn ei hoffi."—119. 140. "Holl air Duw sydd bûr." Diar. 30. 5. "O Arglwydd, onid ar y gwirionedd y mae dy lygaid di." Jer. 5. 3. "Y prophwyd sydd â *breuddwyd* ganddo, *myneged* freuddwyd; a'r hwn y mae ganddo *fy ngair*, *llefared* fy ngair mewn gwirionedd: beth yw'r *ûs* wrth y *gwenith?*" medd yr Arglwydd.—23. 28.

*H.*—Beth os yw rhai yn *anghredu* nad oes angenrheidrwydd am ddim ond Geiriau ysprydol i foliannu'r Arglwydd?

*A.*—"Y rhai—oedd foneddigeiddiach na'r rhai oedd yn Thesalonica,—a dderbyniasant y Gair gyd â phob parodrwydd meddwl, gan *chwilio* beunydd yr *Ysgrythyrau*, a oedd y pethau——felly." Act. 17. 11. "Gwnâ dithau yr *un* modd." Luc 10. 37.

* Gwel Eiriadur y Parch. T. Charles, ar y gair *Psalm.*

† Gwel tu dalen 19, &c.

*H.*—A oes *Gorchymyn* i ganu Geiriau ysprydol?

*A.*—*Oes.* "A phennaethiaid y Lefiaid, oedd Hasabïah, Serebïah, a Jesuah mab Cadmiel, a'u brodyr ar eu cyfer, i ogoneddu, ac i foliannu, yn ol *gorchymmyn Dafydd* gŵr Duw." Neh. 12. 24. "O Heman: meibion Heman; Buccïah, Mattanïah, Uzïel, Sebuel, &c. Y rhai hyn oll oedd feibion Heman,—yngeiriau Duw, i dddyrchafu y corn." 1 Chron. 25. 4, 5. "A Hezecïah y brenin a'r tywysogion a ddywedasant wrth y Lefiaid am foliannu'r ARGLWYDD â *geiriau Dafydd* ac *Asaph* y gweledydd." 2 Chron. 29. 30.

*H.*—A orchymynodd yr ARGLWYDD felly?

*A.*—"Y gorchymmyn oedd *trwy law'r* ARGLWYDD, trwy law ei brophwydi ef."—25.

*H.*—*Paham* y gorchymynodd yr ARGLWYDD gael ei foliannu â geiriau Dafydd ac Asaph?

*A.*—Dywedodd Dafydd,—"*Yspryd yr* ARGLWYDD a lefarodd ynnof fi, a'i ymadrodd ef oedd ar fy nhafod." 2 Sam. 23. 1, 2. "*Ti a fawrhëaist dy air uwchlaw dy enw oll.*" Psalm 138. 2.

*H.*—Pa eiriau *oedd* geiriau Dafydd ac Asaph?*

*H.*—Trwy law pa rai o'i Brophwydi *heblaw* Dafydd, y gorchymmynodd yr ARGLWYDD gael ei foliannu â'r geiriau hyn?

*A.*—*Esay* a *Jeremïah, &c.* "Gogoneddwch yr ARGLWYDD yn y dyffrynoedd, enw ARGLWYDD DDUW Israel yn ynysoedd y môr." Esay 24. 15. "Cenwch i'r ARGLWYDD gân newydd, a'i fawl ef o eithaf y ddaear; y rhai a ddisgynwch i'r môr, ac sydd ynddo; yr ynysoedd a'u trigolion.—Rhoddant ogoniant i'r ARGLWYDD, a mynegant ei fawl yn yr ynysoedd."—42. 10. 12. "Bloeddiwch, cyd-genwch, anialwch Jerusalem: canys yr ARGLWYDD a gysurodd ei bobl, efe a waredodd Jerusalem."—52. 9. "Cenwch i'r ARGLWYDD, moliennwch yr ARGLWYDD: canys efe a achubodd enaid y tlawd o law y drygionus." Jer. 10. 13.

*H.*—Ai Geiriau Cân yw *pob rhan* o'r Ysgrythyrau?

A.—*Nag ê.* "Gwahoddodd ARGLWYDD DDUW 'r lluoedd rai i *wylofain*, ac i *alarnad*, ac i *foeledd*, ac i *ymwregysu â sach-liain:* Ac wele *lawenydd* a *gorfoledd*, gan *ladd gwartheg*, a *lladd defaid*, gan *fwytta cig*, ac *yfed gwin:* bwyttâwn ac yfwn, canys y foru, meddant, y byddwn feirw. A datguddiwyd hyn lle y clywais gan *Arglwydd* y lluoedd, yn ddïau ni lauhëir yr anwiredd hyn hyd oni byddoch feirw, medd ARGLWYDD DDUW'r lluoedd." Esay 22. 13, 14. Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Dywed, "Cleddyf, cleddyf a hogwyd, ac a loywyd. Efe a hogwyd i ladd lladdfa, efe a hogwyd fel y byddai ddisglair: *a lawenychwn ni?*" Ezec. 21. 9. 10.

*H.*—Pa eiriau yw Cân *Llu'r Nefoedd?*

*A.*—A chanu y maent gân *Moses* gwasanaethwr Duw, a chân yr OEN: gan ddywedyd, "*Mawr a rhyfedd yw dy weithredoedd, O Arglwydd Dduw Hollalluog; cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd di, Brenhin y saint*" *&c.* Dat. 15. 3.

*H.*—Pa eiriau *oedd* Cân Moses?*

*H.*—Pa eiriau *yw* Cân yr Oen?

* Gwel tu dalen 19, &c.

* Gwel Ex. 15.

*A.*—"Teilwng yw 'r Oen, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith. I'r hwn sydd yn eistedd ar yr yr orsedd-faingc, ac i'r Oen, y byddo y fendith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, a'r gallu, yn oes oesoedd. Amen." &c. Dat. 5. 9, 12—13.

*H.*—A genir Ysgrythyrau etto ar y ddaear?

*A.*—Gwneir.* Dywedi yn y dydd hwnnw, † "Molaf di O Arglwydd," &c. Esay 12. 1. A'r dydd hwnw y dywedir, "Wele, dyma ein Duw ni; gobeithiasom ynddo." &c.—25. 9. Y dydd hwnw y cenir y gân hon yn nhir Juda: "Dinas gadarn sydd i ni." &c.—26. 1. "Uchel drem dŷn a iselir, ac uchelder dynion a ostyngir; a'r Arglwydd yn unig a ddyrchefir yn y dydd hwnw." —2. 11. "Canys o gyfodiad haul hyd ei fachludiad hefyd, mawr fydd fy enw ym mysg y cenhedloedd: ac ym mhob lle arogl-darth a offrymmir i'm henw, ac offrwm pur: canys mawr fydd fy enw ym mhlith y cenhedloedd, medd Arglwydd Dduw y lluoedd." Mal. 1. 11. "Y dydd hwnw, medd yr Arglwydd, y cân hi, fel yn nyddiau ei hieuengctyd, ac megis yn y dydd y daeth hi i fynu o wlâd yr Aipht." Hos. 2. 16, 15.

*H.*—Pa eiriau oedd ei Chân y dydd y daeth hi i fynu o wlâd yr Aipht? *A.*—Gwel Ex. 15.

---

D. S. Pwy bynnag a gyfansoddo, neu a adroddo Bennill i'w ganu yn Addoliad yr Arglwydd, cofied mai dyrchafedig yw ei enw ef; a'i fod yn ganmoladwy iawn. Gwel tu dalen 19.

# HYFFORDDIADAU I DDYSGU'R GELFYDDYD ARDDERCHOG O GERDDORIAETH.

## Dring-raddau Cerdd. (*Scale* ‡ *of Music*)

1. Ffon, yw y pum llinell ar ba rai y mae 'r Tôn-nôdau wedi eu gosod, pob Llinell a phob Cyfrwng a elwir wrth y saith lythyren gyntaf yn yr Egwyddor, y rhai a rëolir wrth Arwyddnodau. (*Cliffs.*)

2. Llinellau Chwanegol, (*Ledger lines*) ydynt linellau byrion wedi eu tynu drwy'r cyfryw Dôn-nodau a esgynant, neu a ddigynant fwy nac un râdd yn uwch neu yn îs na'r ffon.

* "—Gyd a'r llef y cyd-ganant: canys gwelant lygad yn llygâd: † Pan ddychwelo'r Arglwydd Sion," Esay 52. 8.

‡ Cyfieithir y gair hwn, gan rai, yn *Glorian*; ond nis gallaf ei feddwl yn gyfieithiad addas mewn Cerddoriaeth. Math o fesurfa yw, gan Dôn-nodau, ar y pelldra rhwng Llinellau a Chyfryngau.

3. Yr Arwyddnod G, [clef] y llinell drwy ganol y Crymedd.

4. Yr Arwyddnod Byrdôn neu F, [clef] ar y bedwaredd linell oddiwrth yr isaf.

5. Bollt, (*Bar*) [bar] sydd yn rhannu'r amser.

6. Bollt deublyg, (*Double bar*) [double bar] diwedd y llinell.

7. Dalfa, (*Hold*) [hold] uwch ben Tôn-nôd sy'n dangos ei fod i'w swnio hyd y mynnir.

8. Ysmot, (*Dot*) [dot] ar ol Tôn-nôd sydd yn ei wneuthur hanner cyhyd drachefn a phe b'ai hebddo; felly, amser Mymryn a 'Smot ar ei ôl yw 'r un a thri Chwmfach: a'r lleill yr un modd, yn ol hyd eu hamser.

9. Rhwymiad, (*Tie*) [tie] Llinell gam uwch ben, neu o dan nifer o Dôn-nodau, sy'n arwyddo fod y Tôn-nodau hyny i'w canu ar un sill.

10. Rhwymiad uwch ben, neu o dan dri Thôn-nod (yn y dull uchod) a rhifyn 3 yn eu hymyl sy'n arwyddo eu bod i'w canu yn amser dau o'r fath.

11. Chwibl, (*Sharp**) ♯ o flaen Tôn-nôd sengl, sydd yn codi'r Tôn-nod hwnw haner tôn yn uwch na'i swn naturiol; ond pan byddo yn nechreu Tôn, mae'n codi'r holl Dôn-nôdau haner tôn yn uwch, ar y Llinell, neu'r Cyfrwng, ym mha le y byddo, drwy 'r holl Dôn; oddieithr bod *Lledd* neu *Naturiol* yn ei wrthwynebu.

12. Lledd, (*Flat*) ♭ o flaen Tôn-nôd sengl, sydd yn gostwng hwnw haner Tôn-nôd yn îs na'i sŵn natuiol, ond pan byddo yn nechreu Tôn, y mae yn gostwng yr holl Dôn-nodau haner tôn yn îs ar y Llinell neu'r Cyfrwng ym mha le y byddo, drwy'r holl dôn.

13. Naturiol, (*Natural*) ♮ Y mae'r Naturiol yn cymmeryd ymaith y Chwibl neu'r Lledd oddi wrth y Tôn-nôd, o flaen pa un y byddo, ac yn arwyddo fod y cyfryw Dôn-nôd i'w ganu yn ôl ei sŵn naturiol: fel pe na byddai na Chwibl na Lledd yn nechreu'r dôn. Pan byddo 'n symud *Chwibl*, mae ei effaith yn *Lleddf*, a phan byddo'n symud *Lledd*, mae ei effaith yn *Chwibl*.

14. Ail-adroddiadau, (*Repeats*) [repeat] sef Bollt deublyg a 'Smotiau ar ei ôl, sy'n arwyddo fod y Dôn ar ôl i'w hail-adrodd. *Bollt deublyg* a 'Smotiau o'i flaen, sy'n arwyddo fod y Dôn o'r blaen i'w hail-adrodd. :S: gyda dau 'Smot o'i deutu, sy'n arwyddo'r un peth. Dwy Linell fer a dau 'Smot o'i deutu, :‖: sy'n arwyddo fod y *Gair*, neu'r *Geiriau* i'w hail-adrodd, ar y Tôn-nôd y byddo arei gyfer.

* Mae 'r gair hwn wedi ei gyfieithu yn wahanol; rhai a'i cyfieithant *Crâs*, eraill *Heini*, eraill *Talgron*: ond fy meddwl yw, fod tarddiad y gair (mewn Cerddoriaeth) oddi wrth Offeryn Cerdd, sef, Chwibanogl,

15. DANGOSEG, (*Direct*) W yn niwedd Llinell, neu Gyfrwng, sy'n rhagddangos y lle y mae'r Tôn-nôd canlynol.

16. RHWYMYN, (*Brace*) { neu, [ sy'n cysylltu'r amrywiol rannau o'r Gerddoriaeth a fyddo i'w cyd-ganu.

17. DIWEDDGLO, (*Close*) Llinellau byrion ar ol Bollt deublyg; yn arwyddo'r diwedd.

18. Yr Arwyddnôd BYRDÔN (*Bass Cliff.*) neu F.

19. Yr Arwyddnod G. (*Treble Cliff.*)

Gan na all y *Llythyrenau* wahaniaethu hyd y sŵn, TÔN-NÔDAU a ddychymygwyd i'r diben hyny; y rhai ydynt saith o nifer: sef,

| | |
|---|---|
| BYRNÔD, *Breve.* | CRYCHNOD, *Quaver.* |
| HANER-BYRNÔD, *Semibreve.* | HANER-CRYCHNOD, *Semiquaver.* |
| MYMRYN, *Minim.* | CHWARTER-CRYCHNÔD, *Demi-semiquaver.* |
| CWMFACH, *Crotchet.* | |

Gwel eu dull yn Siampl 20.

## AMSER A'I FODD GWAHANOL. (Siampl 21.)

Mae 'n rhaid ystyried mai *Amser* yw un o'r pethau cyntaf, a'r Gynneddf fwyaf hanfodol i Gerddoriaeth. Mae dau Amser mewn Cerddoriaeth, sef CYFFREDIN, a THRIPHLYG. Pan byddo'r Bollt yn rhannau cyd-wastad, megis *dau*, neu *bedwar*, neu *wyth*, mae'r Mesur yn Amser Cyffredin; ond pan byddo'n anghydrif, megis *tri*, neu dri wedi ei *liosogi*, mae'r Mesur yn *Amser Triphlyg.*

### MODD AMSER CYFFREDIN.

Hyd *Haner-byrnod*, yn yr amser arafaf, yw pedwar ymdafliad Dibin-dafod Awrlais (*Pendulum of a Clock*) hyny yw *Cwmfach* ar bob ymdafliad. Mae'r Amser Cyffredin yn dri modd, Yn gyntaf y SYMUDIAD ARAFAF, (*Adagio*) Yn ail, GRADD YN GYNT (*Largo*) Yn drydydd, BYWIOG, (*Allegro*) yr hwn yw'r symudiad cyntaf o'r Amser Cyffredin. Weithiau yn y modd hwn ni bydd ond dau Gwmfach yn y Bollt, wedi ei nodi fel hyn $\frac{2}{4}$. Pan byddo felly, mae'r Cwmfach i'w swnio radd yn gynt na'r Mymryn yn y modd Bywiog.

### AMSER TRIPHLYG, (Siampl 22.)

Yn 4ydd, Mae'r un enwau ar Amser TRIPHLYG, ond nid yr un Nodau. Mae 'r *Symudiad arafaf* yn yr amser hwn yn cynwys *Haner Byr-nôd* a 'Smot yn ei ymyl, neu hyd ei amser o Dôn-nôdau eraill.

*Grâdd yn gynt na'r arafaf,* un Mymryn a 'Smot yn ei ymyl mae yn gynnwys; neu hyd ei amser o Dôn-nôdau eraill.

BYWIOG, sef yr amser cyntaf o'r tri hyn, *Cwmfach* a 'Smotyn yn ei ymyl mae'n gynwys; neu hyd ei amser o Dôn-nôdau eraill: megis y lleill.

Siampl 23. CYNNALIEDYDD, (*Appogiatura*) Tôn-nôd bychan, i'w gyffwrdd yn brin, wrth symud o'r naill Dôn-nôd i'r llall, i harddu'r symudiad.

24. GOSTEGAU, (*Rests.*) Y mae gan bob un o'r Tôn-nôdau ei Osteg cyfattebol; hyny yw yr un hyd a'u sŵn; y rhai a elwir yn ôl enwau 'r Tôn-nôdau: sef GOSTEG HANER-BYRNOD, GOSTEG MYMRYN, GOSTEG CWMFACH, &c.

Siampl 25. Yr WYTHRADD-DÔN, (*Octave*) ar yr Arwyddnôd F, wedi ei ranuu yn HANER-TÔN-NÔDAU. Pump o'r llythyrenau sy'n Dôn-nôdau cyfan, G. A. C. D. F. nid yw B, ac E, ond dau HANER-TÔN-NOD. Gwel yr Esampl ar y Ffon.

26. UNSEINEDD, (*Unison.*) Y Tôn-nôdau sy'n gwneuthur cyssondeb wrth eu cyd swnio, a elwir yn GYNGHANEDDAU: sef y 3au, y 5au, y 6au a'r 8au, oddiwrth y Tôn-nôd dechreuol. Mae'r 5au, a'r 8au yn *Gynghaneddau perffaith.* Y 3au a'r 6au yn amherffaith. Y 10fed oddiwrth y Tôn-nôd dechreuol, a elwir yn 3ydd, y 12fed a elwir yn 5ed, y 15fed a elwir yn WYTH-RADD-DÔN, neu Wyth-radd-tôn deublyg: y rhai hyn yn gysylltiedig ydynt Gynganeddau.

2au, 4au, a 7au, a'u Hwyth-radd-dônau wrth eu cyd-swnio ydynt ANGHYNGANEDDAU: er hyny maent yn fuddiol mewn rhai rhanau o Gerddoriaeth os byddant wedi eu cymmysgu yn synwyrol.

27. TRAWSDDODIAD Y CYWEIRIAU, (*Transposition of Keys*)

Trawsddodiad y cywair yw symudiad o Dôn yn uwch, neu yn îs ar y Dringraddau, na'i lle naturiol, wrth roddi llythyren arall yn Gywair-dôn-nód, a chyfaddasu 'r haner Tôn at y Cywairdôn-nôd hwnw â Lleddau a Chwiblau. Mae grâdd gymmwys i ddechreu pob rhan o Gerddoriaeth i gyfatteb i gwmpas y llais, ac hefyd i gadw 'r Dôn yn rhëolaidd ar y Ffon.

Rhif 1. Y CYWAIR CHWIBL, gan Chwiblau.

1. Pan byddo Trawsddodiad gan Chwiblau, mae'r Cywair-dôn-nôd yn symud, naill ai pump yn uwch, ai pedwar yn îs na'r man lle yr oedd o'r blaen. Yma y Cywair-dôn-nôd naturiol yw C, yr hwn Dôn-nôd nid yw'n gofyn Chwibl na Lledd. Y symudiad cyntaf sydd o C, i G; oblegid mae hwnw bump yn uwch, a phedwar yn îs na C; ond i beri hyn mae'n rhaid i'r F fod yn Chwibl, i symud yr haner-tôn o'r 7fed i'r 8fed, fel y mae'r Cywair Chwibl yn gofyn. Yr ail symudiad yn ôl y rhëol, sydd bump yn uwch, neu bedwar yn îs na G; yr hwn sydd i D: ac mae hyn yn gofyn fod Chwibl ar C. Y trydydd symudiad sydd i A; ac o ganlyniad mae 'n rhaid bod Chwibl ar G: yn y modd hyn, gellir symud y Cywair-dôn-nôd gan Chwiblau, i bob llythyren o'r Wyth-radd-dôn; ond wedi y delo at F, yr hwn Dôn-nôd sydd yn cymeryd chwech o Chwiblau, ni ellir chwanegu atynt; o blegid fod yr Wyth-radd-dôn wedi ei rhannu yn Haner-tônau. A'r pummed yn uwch, a'r pedwerydd yn îs nac F, yw C; y Cywair-dôn-nôd naturiol, yr hwn nid yw'n gofyn Chwiblau, na Lleddau. Yn ail rhaid sylwi fod y Chwibl ymhob symudiad, ar y Tôn-nôd o dan y Cywair-dôn-nód, neu ei wythfed, i symud yr Haner-tôn o'r 7fed i'r 8fed: o blegid rhaid bod i'r Cywair Chwibl, naill ai Mwyaf ai 7fed Lledd.

Rhif 2. CYWAIR LLEDDF gan Chwiblau.

Yma hefyd mae'r Cywair-dôn-nôd yn symud i'r pummed yn uwch, neu'r pedwerydd yn îs na'r man lle 'r oedd o'r blaen; ond gan mai 'r Trydydd a'r Chweched yw'r Haner-tôaau yn y Cywair hwn,

rhaid bod Chwibl ar y Tôn-nôd oddi ar y Cywair-dôn-nôd, ym mhob symudiad; neu ei wythfed, i symud yr Haner-tôn o'r ail i'r trydydd: o blegid rhaid bod i'r Cywair hwn, naill ai Mwyaf ai trydydd Lledd.

Rhif 3. Cywair Chwibl, gan Leddau.

Yma rhaid sylwi, 1. Fod Trawsddodiad gan Leddau, yn y gwrthwyneb i'r rheol gyntaf; ac yn symud y Cywair-dôn-nôd bedwar yn uwch, neu bump yn îs na'i le dechreuol. Y Cywair-dôn-nôd natiriol yn yr Esampl hwn yw C; gan hyny y symudiad cyntaf yn ól y rheol sydd i F; yr hwn sydd bedwar yn uwch, a phump yn îs nac ef; ond gan mai 'r Haner-tôn cyntaf oddi ar F, yw C, yr hwn sydd yn bummed, a chan fod y Cywair Chwibl yn gofyn ei fod ar y pedwerydd, mae Lledd ar B; i'w wneuthur yn Haner-tôn: a chan fod B, eisoes wedi ei Lleddfu, yr Haner-tôn cyntaf oddi arno yw F; yr hwn a elwir y pummed: yr hwn sydd, o herwydd bod B wedi ei lleddfu, yn cael ei ddwyn i'r pedwerydd; wrth roddi Lledd ar E.

Y trydydd symudiad sydd i E; ond gan fod B, ac E, eisoes wedi eu lleddfu, yr Haner-tôn cyntaf oddi ar E, yw B; yr hwn sydd yn bummed: ac yn cael ei ddwyn i'r pedwerydd wrth roddi Lledd ar A. Yn y modd hyn gellir symud y Cywair Chwibl gan Leddau, i bob Llythyren o'r Wyth-radd-dôn. Yn ail rhaid sylwi bod Lledd ym mhob symudiad, ar y Tôn-nôd oddi ar y Cywair-dôn-nôd blaenorol, neu ei wythfed; i ddwyn yr Haner-tôn o'r pummed i'r pedwerydd.

Rhif 4. Cywair Lleddf gan Leddau.

Yma hefyd, mae'r Cywair-dôn-nôd yn symud bedwar yn uwch, neu bump yn îs na'i le dechreuol; ond gan fod lleoedd yr Haner-tônau yn y Cywair hwn yn wahanol i'r Rhif 3. mae'n rhaid bod Lledd ym mhob symudiad ar y Tôn-nôd cyntaf oddi ar y Cywair dôn-nôd diweddaf; neu ei wythfed, i symud yr Haner-tôn o'r 7fed i'r 6ed; fel y byddo'r cywair Lleddf yn gofyn.

Ychydig Siamplau yn dangos y gwahaniaeth rhwng y ddau Gywair; sef y Mwyaf a'r Lleiaf, (*Major & Minor*)

Nid y Chwiblau sy'n gwneuthur y Cywair yn gywair Mwyaf; nid y Lleddau chwaith sy'n ei wneuthur yn gywair Lleiaf: o blegid, fe genir y Cywair mwyaf heb Chwiblau, a'r lleiaf heb Leddau. Peth arall sy'n dangos hyn yw bod y Cywair yn cael ei wanhâu gan Chwiblau, ac yn cael ei gryfhâu gan Leddau. Yn yr Esgyniadau, a'r Disgyniadau, mae gwneuthur y gwahaniaeth; sef esgyn, a disgyn yn ol fel y byddo'r Chwiblau, neu'r Lleddau wedi eu gosod. Gelwir y ddau Gywair hyn, y naill yn gywair Chwibl, (*Sharp Key*) a'r llall yn Gywair Lleddf. (*Flat Key.*)

Nid Chwiblau sy'n gwneuthur y naill yn Llawen, na Lleddau yn gwneuthur y llall yn Gwynfanus; o blegid mae'r Chwibl mewn rhai mannau, mor gwynfanus ac ydyw'r Lledd: a Lledd mewn rhai mannau, mor lawen ac ydyw'r Chwibl. Mae'r Disgyniad o G i F Chwibl, mor gwynfanus a'r Esgyniad o G i B Leddf.* Swnio 'r Haner-tôn-nôdau yn gywir yn yr Esgyniadau a'r Disgyniadau, sy'n gwneuthur y naill yn llawen a'r llall yn gwynfanus.

Mae'r ddau Gywair yn Siampl 28, a Hyfforddiadau i ddysgu eu canu yn Siampl 31.

---

* Cylch Gruddfaniad y Golomen.

